# HANES BYWYD
# "UNCLE TOM"

## O 1789 HYD 1877,

## GANDDO EF EI HUN.



PARCH. JOSIAH HENSON

*(Neu "Uncle Tom" Mrs. Harriet Beecher Stowe).*

DOLGELLAU:
CYHOEDDEDIG GAN WILLIAM HUGHES.

# HANES BYWYD "UNCLE TOM,"
GANDDO EF EI HUN.

SEF

# BYWGRAFFIAD
Y PARCH.

# JOSIAH HENSON

(ARWR LLYFR MRS. HARRIET BEECHER STOWE),

O 1789 I 1877.

GYDA RHAGYMADRODD
Gan MRS. HARRIET BEECHER STOWE,
A
Nodiad Arweiniol
GAN GEORGE STURGE, A S. MORLEY, YSW., A.S.

---

DAN OLYGIAETH JOHN LOBB, F.R.G.S.,
GOLYGYDD Y "CHRISTIAN AGE," ETC.

---

*Cyfieithiedig o'r "Ddegfed Fil a Deugain" gan*
Y PARCH. D. GRIFFITH, DOLGELLAU.

---

DOLGELLAU:
W. HUGHES, SWYDDFA "Y DYSGEDYDD," ETC.
1877.

*Derbyniodd y Golygydd y Llythyrau a ganlyn oddiwrth Lieut.-Gen. Syr T. M. Biddulph, K.C.B., ar ran ei Mawrhydi y Frenhines.*

---

OSBORNE, Chwefror 10fed, 1877.

Dymunir ar Lieut.-Gen. Syr T. M. Biddulph gydnabod derbyniad y copi o "Hanes Bywyd 'Uncle Tom' ganddo ef ei hun," a anfonwyd gan Mr. Lobb i'r Frenhines, ac i ddychwelyd diolchgarwch ei Mawrhydi.

---

OSBORNE, Chwefror 10fed, 1877.

SYR,

Rhoddwyd y llythyr a anfonasoch i'r Frenhines drwy Arglwydd Shaftesbury yn nwylaw y Frenhines, ac ar yr un pryd "Hanes eich Bywyd."

Derbyniodd ei Mawrhydi y naill a'r llall yn y modd mwyaf grasol a chyda dyddordeb mawr, gan ei bod yn dra adnabyddus â'ch hanes oddiwrth waith Mrs. Beecher Stowe.

Ydwyf, Syr,

Eich gwir ffyddlawn was,

(Arwyddwyd) T. M. BIDDULPH.

Parch. JOSIAH HENSON.

A Negro Preacher, bowed with age, is he :
No sounding titles do his worth attest,
Yet, in a land where all who tread are free,
He, slave who was, is now its Sov'reign's guest !
What deep emotion must possess his breast,
The humble actor in so strange a scene !
Once all unknown, unfriended, and opprest,
He who a legal "chattel" erst had been,
In friendly converse stands with England's gracious Queen !

What wonder if, amid that courtly throng,
His startled thoughts fly back through years of pain,
When, held in cruel bonds by foulest wrong,
Condemned to labour for a tyrant's gain,
He felt the lash, and wore the captive's chain ?
Hunted by hounds, when fain he would be free ;
Accursed, as though he bore the brand of Cain ;
Like some wild beast, from men compelled to flee,
In desperate essay to snatch sweet Liberty !

Brave "Uncle Tom" ! May happy days be thine—
Days placid, peaceful, uneventful, still !
May tender friendships sweeten thy decline !
As flow'rets fringe the homeward-flowing rill,
May love thy fleeting years with comfort fill !—
The Master whom thou lovest doth accord
True freedom unto all who do His will ;
And, in the service of their common Lord,
Both Queen and slave at last shall reap a rich reward !

# RHAGYMADRODD.

NI raid i gyfeillion lluosog awdwr y llyfr hwn wrth gymeradwyaeth amgenach na'i enw i'w wneud yn dderbyniol iddynt. Yn mhlith yr holl hanesion rhyfedd a dyddorol y darfu i gaethwasiaeth Americanaidd roddi bod iddynt, nis gwyddom am un mwy tarawgar, mwy nodweddiadol ac addysgiadol, nag eiddo JOSIAH HENSON.

Wedi ei eni yn gaethwas—mewn effaith, caethwas mewn gwlad baganaidd—a than feistr paganaidd, tyfodd i fyny heb oleuni na gwybodaeth Gristionogol, ac fel y cenhedloedd y sonia St. Paul am danynt, y rhai, heb fod y ddeddf ganddynt, oedd "wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf." Un bregeth, un cynnygiad o iachawdwriaeth drwy Grist, oedd yn ddigonol iddo ef, megys i'r eunuch o Ethiopia, i'w wneuthur ar unwaith yn gredadyn o'r galon ac yn bregethwr i'r Iesu. I'r athrawiaeth fawr Gristionogol o faddeuant i elynion, ac o dalu da am ddrwg, gwnaed ef drwy ras Duw yn dyst ffyddlon, dan amgylchiadau a brofant eneidiau dynion, ac a wnant i bawb o honom a'u darlleno ddywedyd, "Nac arwain ni i'r fath brofedigaeth." Yr ydym yn gwresog gymeradwyo y gyfran hon o'i hanesiad iddynt hwy, y rhai, dan demtasiynau llawer llai, a feddyliant eu bod yn meddu hawl i dalu drwg am ddrwg.

Hyd yn hyn, ni ymddengys yr hil Affricanaidd ond cyfranogion yn unig o ddyoddefiadau Crist. Yn ngolygfa bruddaidd ei farwolaeth — tra yr oedd Ewrop yn mherson y Rhufeinddyn yn ei draddodi Ef i farwolaeth, ac Asia yn mherson yr Iuddew yn crochlefain am ei ddienyddiad—cynrychiolid Affrica yn mherson Simon o Cyrene, yr hwn yn amyneddus a'i dilynai Ef, gan ddwyn ei groes; a byth oddiar hyny y mae Affrica druan wedi bod yn ymsymud rhagddi, gan ddwyn croes flinedig dirmyg a gorthrymder ar ol Iesu. Ond y rhai a ddyoddefant gydag Ef, a gânt deyrnasu hefyd; a phan yr ymddengys cof-restrau anysgrifenedig caethwasiaeth yn y farn, caiff Simoniaid lawer a aethant, gan ddwyn eu croes yn addfwyn ar ol Iesu, i feddau anadnabyddus, gyfodi i orseddfeinciau a choronau! Yn ddiddadl fe ddaw dydd pan yr ymddengys Efe yn ffafr ei rai cuddiedig hyn, ac yna "llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf, a'r rhai olaf yn flaenaf."

HARRIET BEECHER STOWE.

*Andover, Mass.*

---

# NODIAD ARWEINIOL.

GAN GEORGE STURGE, A S. MORLEY, YSW., A.S.

---

Ar waith y Parch. Josiah Henson yn ymweled â Lloegr, ymgymerodd Samuel Morley, Ysw., A.S., a George Sturge yn dirion â'r gwaith o fod yn drysoryddion y gronfa er lleihau gofynion ei

*mortgagees*. Mewn attebiad i'n cais am ychydig eiriau rhagarweiniol i "Fywyd Uncle Tom," y mae genym a ganlyn oddiwrth George Sturge: "Mae fy ngwybodaeth o Josiah Henson yn dyddio o'i ymweliad â'r wlad hon bum' mlynedd ar hugain yn ol, pryd y darfu fy niweddar frawd, Thomas Sturge, gydag eraill o gyfeillion yr hil negroaidd, ei gynorthwyo i gychwyn 'Y Sefydliad yn Dawn er Addysgu Pobl Dduon yn Canada.' Yr wyf yn golygu Josiah Henson yn ddyn hynod mewn llawer modd. Pan feddyliwyf am ei ymdrechion an-hunanol (er enbydrwydd mawr iddo ei hun) i waredu ei frodyr mewn caethiwed, wedi iddo sicrhau ei ryddid ei hun, a'i lafur fel dyn rhydd i'w haddysgu a'u goleuo, ystyriwyf mai ychydig o ddynion sydd yn awr yn fyw a wnaethant gymaint dros yr hil negroaidd. Pan gofir hefyd iddo fod yn gaethwas am ddwy a deugain o flynyddau, rhydd ei fywyd *siampl* galonogol o'r hyn ellir wneud, hyd yn nod dan yr anfanteision mwyaf, gan un a fo yn wir awyddus i leshau ei genedl. Gwasanaethai ei symledd Cristionogol, ynghydag absenoldeb pob teimlad chwerw tuag at y rhai a'i gorthrymasant, er ei gymeradwyo i bawb a ddaethant i gydnabyddiaeth âg ef. Caiff darllenwyr bywyd 'Uncle Tom,' fel y mae wedi estyn yn ei gofnodau i'r dyddiad presenol, ei fod yn meddu dyddordeb dwfn, a diau y ca dderbyniad ffafriol. Pan gyflwynid y sylwadau hyn i Samuel Morley, ei sylw oedd, 'YR WYF YN HOLLOL GYTUNO A HWYNT.'"

*Sydenham*, Hyd., 1876.

## NODIAD GOLYGYDDOL.

WEDI clywed ddarfod i rai personau amlygu amheuaeth yn nghylch unrhywdeb (*identity*) y Parch. Josiah Henson âg "Uncle Tom" llyfr Mrs. Stowe, yn benaf am fod Mrs. Stowe yn *lladd* ei harwr, ystyriwn nad yw ond cyfiawn i bob plaid roddi yr eglurhad a'r cadarnhad a ganlyn. Addefwn yn rhwydd nad hawdd, wedi i un ddarllen y desgrifiad toddedig a nerthol am ddiwedd "Uncle Tom" gan Mrs. Stowe—pennod a ddug ddagrau i lygaid miloedd, ac a roes argraff ar lawer calon o brydferthwch a gogoniant gwir grefydd—nad hawdd yw meddwl am dano fel o hyd yn fyw; ac am hyny gallwn lwyr ddeall ac hyd yn nod gwerthfawrogi yr amheuaeth y dywedir ei fod yn hanfodi mewn rhai meddyliau. Ond cydnebydd personau meddylgar, gan mai amcan mawr Mrs. Stowe oedd dangos echrysderau caethwasiaeth hyd yr eithaf, a thrwy i lawer o gaethion truain gael eu llofruddio gan eu meistri creulawn a bwystfilaidd —rhai dan amgylchiadau hyd yn nod mwy echryslawn nag a amgylchant lofruddiaeth "Uncle Tom" ganddi hi—fod Mrs. Stowe yn llwyr gyfiawnhaol yn ei gwaith yn defnyddio rhagorfraint y nofelydd, hyd yn nod i'r "diwedd chwerw," er rhoddi i'w hanes bob effaith dichonadwy. Mewn golygiad llenyddol, celfyddgar, buasai y stori yn annghyflawn hebddo, ac yr oedd ffyddlondeb i'w hamcan, ac i ffeithiau

galarus bywyd caethwas yn ei hawlio. Er hyny, erys y gwirionedd yn annghyfnewidiol ac annghyfnewidiadwy; ac mai bywyd y Parch. Josiah Henson a awgrymodd i Mrs. Stowe ei hamgyffrediad o'i hanfarwol arwr, a ellir ei gadarnhau yn y modd mwyaf boddhaus, fel yr ymddengys oddiwrth y byrfynegiad a ganlyn. Wedi bod o Mr. Henson am wyth mlynedd yn ddyn rhydd yn Canada, cyhoeddodd hanes ei fywyd o gaethiwed am ddwy flynedd a deugain yn y Taleithiau. Yr oedd hyn yn 1849. Tynodd y llyfr sylw Mrs. Stowe, meddwl yr hon y pryd hwnw (yn rhagluniaethol, mae'n amlwg) a ymdroai lawer yn nghylch pwnc caethwasiaeth, fel sefydliad Americanaidd, ac yn fwyaf neillduol yn ei berthynas âg Eglwysi Cristionogol, ac â Christionogaeth. Credai Mrs. Stowe, gyda y dyn mawr a da hwnw, John Wesley, mai caethwasiaeth "yw swm pob ysgelerder dynol;" ac angerddol oedd ei hawydd am gynyrchu llyfr, yr hwn, drwy ei nerth dramayddol, a ddangosai ddrygedd ac erchyllderau y gaethfasnach, a thrwy hyn gynorthwyo i'w dymchweliad. Ac ni ddichon neb amheu na bu i'w llyfr, "Uncle Tom," nerthol weithio er dwyn o amgylch y canlyniad mawreddog hwn. Yn ganlynol, ar gais Mrs. Stowe, talodd Mr. Henson ymweliad â hi, ac a roddodd fanylion pellach o'i fywyd ei hun, ac a gadarnhaodd yn foddhaus y digwyddion a'r amgylchiadau a gofnodid yn ei lyfr. Ymwelodd George Harris (priod Eliza), yr hwn sydd etto yn fyw, hefyd â Mrs. Stowe yr un flwyddyn, gan roddi iddi gyflenwad o hysbysrwydd o'i brofiad ei hun; ac

fel hyn oddiwrth eu *cyd-hanes*, a gymerwyd o'u gwefusau eu hunain, ac o lyfr Mr. Henson, y cafodd Mrs. Stowe y *prif* ddefnyddiau at "Uncle Tom's Cabin," pa un a ymddangosodd yn y flwyddyn 1850. Dengys cyfeiriad at y gwaith a gynyrchodd Mrs. Stowe yn ddiweddarach, sef, "Agoriad i 'Uncle Tom's Cabin;'" yn dwyn i sylw y Ffeithiau a'r Ysgrifau gwreiddiol ar y rhai y seilir y Stori; ynghyda Thystiolaethau yn cadarnhau gwirionedd y gwaith—dengys yr oll fod y casgliad uchod yn cael ei lwyr gyfiawnhau. Ar y 34ain tudalen o'r "Agoriad," ysgrifena Mrs. Stowe, "Edryched y darllenydd dros yr hanes a rydd George Harris o werthiad ei fam a'i phlant, ac yna darllened yr hanes canlynol a roddir gan yr hybarch Josiah Henson," &c. Diau i Mrs. Stowe dynu hysbysrwydd o ffynhonellau eraill, ond mai Mr. Henson a roddodd iddi y meddylddrych o "Uncle Tom" sydd amlwg oddiwrth tudalen 52 o'r "Agoriad." "Ceir engraifft ddiweddarach, *cyf-ochrog* âg eiddo 'Uncle Tom,' yn mywgraffiad cyhoeddedig yr hybarch Josiah Henson, yr hwn yn awr sydd weinidog yn Canada," &c., &c. Gofyn-asom ychydig gwestiynau i Mr. Henson yn nghylch rhai o'r cymeriadau a ddygir i mewn gan Mrs. Stowe, pryd y derbyniasom y manylion a ganlyn, y rhai, tu hwnt i amheuaeth, a fyddant ddyddorol i'n darllenwyr: "Modryb Chloe, oedd fy ngwraig gyntaf, gwir enw yr hon oedd Charlotte. Yr oedd yn enwog fel cogyddes dda. Ei gwaith yn canu can-iadau ysbrydol mor brydferth, enillodd fy nghalon i ddechreu. Yr oedd hi yn wir Gristion, a bu

iddi farwolaeth ddedwydd iawn." "Yr oedd gwaith George Shelby yn cymeryd march i orddiwes Haley y masnachwr, yn ddigwyddiad a gymerodd le mewn gwirionedd. Y gwr ieuanc hwnw oedd George Riley." "Dangosodd Tri Chrynwr, Dr. Stanton, y Seneddwr Bird, a Levi Coffin, a'u gwragedd, gydymdeimlad mawr â mi, gan fy nghynorthwyo. Noddai y Seneddwr Bird fi pan yn dianc o gaethiwed." "Adwaenwn George ac Eliza Harris a'u mhab bychan yn dda iawn." "Y mae desgrifiad Mrs. Stowe o Topsy yn hollol gywir; ei gwir enw oedd Dinah." "Eva (Susan), merch Mr. St. Clare (y gwir enw), a waredwyd yn wirioneddol genyf rhag boddi. Cymerai yr amgylchiad le yn ngenau Blackford's Creek, ar yr Afon Ohio." "Cassy a adwaenwn yn dda. Ei henw oedd Polly—cogyddes Litton ydoedd." "Pan oeddwn yn aros gyda Litton (Legree Mrs. Stowe), ymwelai George Riley (George Shelby Mrs. Stowe) â mi mewn gwirionedd." Gellid dwyn yn mlaen gadarnhad pellach, ond sicr ydym y boddheir ein darllenwyr nad oedd yr enwog "Uncle Tom" neb amgen na'r Parch. Josiah Henson, yr hwn y bu i filoedd yn y wlad hon ei weled a'i glywed gyda hyfrydwch, ac fel y gobeithiwn gyda budd hefyd. Ar ymweliad cyntaf Mr. Henson â'r wlad hon, bum' mlynedd ar hugain yn ol, mwynhâi ymddiried a pharch llawer o'r gwyr blaenaf yn yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Y mae rhai o'r personau anrhydeddus hyny yn fyw etto, a dangosasant drwy eu cydymdeimlad a'u cynorthwy, yn ei ymweliad olaf hwn, nad oedd eu hyder a'u parch wedi lleihau dim gyda threigliad

blynyddau; er, wrth gwrs, fod amgylchiadau wedi cyfnewid, yn gymaint a bod caethwasiaeth Americanaidd yn y cyfwng hwnw o amser wedi peidio â bodoli. Cyrhaeddai ymweliad Mr. Henson ei uchder mwyaf yn y cyfarfod ymadawol mawreddog yn Nhabernacl byd-adnabyddus Mr. Spurgeon, gyda y *gwir ardderchog* Iarll Shaftesbury yn y gadair. Dichon nad annghofia y rhai oeddynt bresenol byth frwdfrydedd y cyfarfod hwnw, a sicr ydym y bydd côf hyfrydlawn am dano yn meddwl Mr. Henson hyd ddydd ei farwolaeth. Cynwysai y *Times*, *Daily News*, ac eraill o bapurau Llundain grybwyllion am y cyfarfod. Ffafriodd y *Times* am Chwefror 2fed ni âg adolygiad ar "Hanes Bywyd 'Uncle Tom' ganddo ef ei hun," am ba un yr ydym yn wir ddiolchgar, a'r hwn ni a obeithiwn a lwyr benderfyna y pwynt mai hunan-fywgraffiad Mr. Henson a awgrymodd gyntaf i Mrs. Stowe y meddylddrych o'i harwr. Dechreua y newyddiadur arweiniol (*Times*) ei sylw ar ein llyfr fel y canlyn:—

"Yn mhlith y dorf o gydymgeiswyr o bob parth o'r byd a ymwasgent i ddangos eu nwyddau i Arddangosfa 1851, yr oedd un arddangosydd negroaidd. Yr oll oedd ganddo i'w dangos oedd pedwar o fyrddau *walnut* du, ond yr oeddynt o'r graen a'r cyfansoddiad goreu, ac wedi eu llathru yn brydferth yn y dull Ffrengig, ac yn y diwedd, rhoed bathodyn am danynt. Yr oedd arno yr arysgrifen, 'Hwn sydd gynyrch diwydrwydd caethwas ffoedig o'r Unol Daleithiau, cartref yr hwn sydd yn Dawn, Canada.' Yn mywgraffiad y caethwas ffoedig hwnw, a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun, a gyhoeddwyd gyntaf yn

Boston ryw ddwy flynedd cyn hyny, a adgyhoeddwyd yn y wlad hon yn mlwyddyn yr Arddangosfa, ac o ba un y mae yr adgyhoeddiad diweddaf yn awr o'n blaen, yn ei ddegfed fil ar hugain, wedi rhedfa o chwech wythnos, y gorweddai cnewyllyn y ffugwaith hynod hwnw, na bu i unrhyw lyfr arall, oddieithr y Beibl, ragorach cylchdaeniad, a'r hwn y gellir maddeu i'r awdwr am gredu oedd 'y cŷn a rwygodd yn ddarnau o'r diwedd' adail anferth caethwasiaeth Americanaidd, gan ei dymchwel 'gyda gordrwst ofnadwy.' Eto y mae hyn, er gwaethaf y gwrthdystiad plentynaidd fod 'Uncle Tom' wedi ei ladd yn y llyfr, ac nas gall y Tad Henson, gan hyny, fod yn ddim amgen na'i ysbryd, yn ffaith ddiamheuol, fel y gwna trem ar y bennod sydd gan Mrs. Stowe ar ei harwr, yn yr 'Agoriad i Uncle Tom's Cabin,' o angenrheidrwydd argyhoeddi pob darllenydd."

Ar ran Mr. Henson a'r cyfeillion hyny, y rhai mor garedig a gydweithredent â ni, y mae genym i ddatgan diolchgarwch o'r fath wresocaf i'r cyhoedd Cristionogol, haelfrydig a theimladwy, am y cyfraniad ardderchog o £1,400. Trwy yr haelioni ysblenydd hwn, symudwyd yr anhawsderau a orthryment ac a rwystrent Mr. Henson yn ei waith yn Canada, a gwnaed hefyd ryw ddarpariaeth er ei gysur ei hun a'i wraig yn eu dyddiau methedig. I ni, gwaith cariad Cristionogol a fu, a chawsom fwy na'n gwobr yn llwyddiant ein hymdrechion, a thrwy gyd-gymdeithas â chynifer o gyfeillion Cristionogol, o'r rhai y bydd genym o hyn allan adgofion diolchgar a gwir serchlawn. JOHN LOBB.

SWYDDFA Y "CHRISTIAN AGE,"

LLUNDAIN, *Chwefror*, 1877.

# CYNWYSIAD.

# "UNCLE TOM."

## PENNOD I.

### FY NGENEDIGAETH A'M PLENTYNDOD.

ADGOFION BOREUAF.—GANWYD YN MARYLAND.—FY NHAD YN YMLADD A GORUCHWYLIWR.—CANT O WIALENODIAU A THORI YMAITH EI GLUST.—YN TAFLU YMAITH EI BANJO, AC YN YMBRUDDHAU.—EI WERTHU I FYNED I'R DE.

Y MAE hanes fy mywyd, pa un yr wyf oddeutu ei gofnodi, yn un llawn o ddigwyddiadau tarawgar. Ychydig a arweiniwyd gan Ragluniaeth Duw i brofi chwerwach pangfeydd, dyfnach llawenydd, neu ryfeddach cyfnewidiadau. Fel yr edrychwyf yn ol drwy y cyfwng o fwy na phedwar ugain mlynedd, a golygfa ar ol golygfa yn ymgodi o'm blaen, fe lenwir fy meddwl â syndod newydd yn barhaus. Hyfryd genyf ei adalw i'm cof; yr wyf yn myfyrio arno fel y gwnelai yr Iuddewon ar hanes rhyfedd eu gwaredigaeth o gaethiwed yr Aipht. Y mae Amser gyda'i fysedd meddalhaol wedi cyffwrdd â'i ddelweddau gerwinaf. Y mae dyoddefiadau yr amser a aeth heibio yn awr fel breuddwyd; ac y mae y gwersi parhaol ydynt wedi eu gadael ar ol yn peri i mi foli Duw am fod fy enaid wedi ei dymheru

ganddo Ef mewn ffwrn mor danllyd, a than ergydion mor drymion.

Ganwyd fi Mehefin 15, 1789, yn Swydd Charles, Maryland, ar fferm berthynol i Mr. Francis Newman, oddeutu milldir o Port Tobacco. Fy mam ydoedd gaethes i Dr. Josiah McPherson, ond a anfonid yn nghyflog at Mr. Newman, i'r hwn y perthynai fy nhad. Yr unig ddigwyddiad allaf gofio tra y parhaodd fy mam ar fferm Mr. Newman, oedd ymddangosiad fy nhad un diwrnod gyda'i ben yn gwaedu, a'i gefn yn archolledig. Yr oedd yn annhebyg iddo ei hun gan gymysg deimladau o soriant a dyoddefaint. Ymosodasai y goruchwyliwr yn fwystfilaidd ar fy mam, pryd y rhuthrodd fy nhad arno fel teigr. Mewn moment yr oedd y goruchwyliwr ar lawr; ac wedi ei orthrechu gan ddigllonedd, buasai fy nhad wedi ei ladd oni bae erfyniau fy mam, ac addewid y goruchwyliwr ei hun na ddywedid byth air ar y mater. Cadwyd yr addewid—fel y rhan fwyaf o'r addewidion a wneir gan rai llwfr a diraddiol—cyhyd ag y parhaodd y perygl.

Y mae cyfreithiau caeth-daleithiau yn darparu moddion a chyfleusderau i ymddial i'r fath helaethrwydd fel na phalla rhai anfad fel efe byth a'u defnyddio. "Y mae *nigger* wedi taro dyn gwyn!" dyna ddigon i roddi swydd gyfan ar dân; ni ofynir cwestiwn yn nghylch yr achos. Erlynid fy nhad gan yr awdurdodau yn ebrwydd. Y gosb ydoedd cant o ffrewylliadau ar y cefn noeth, a chael y glust ddehau wedi ei hoelio wrth y pawl ffrewyllu, ac yna ei gwahanu oddiwrth y corph. Cadwodd fy nhad allan o'r ffordd am amser, gan ymguddio yn y

coedydd, ac anturio yn y nos at ryw gaban a welai i chwilio am fwyd. Eithr o'r diwedd dyrysodd y wyliadwriaeth fanwl a gedwid arno ei holl ymdrechion. Wedi tori oddiwrtho bob moddion cynhaliaeth, newynwyd ef allan yn deg, fel y gorfu arno drwy eisieu ddyfod yn ol a rhoddi ei hun i fyny.

Y dydd i weinyddu y gosb a appwyntiwyd; galwyd yn nghyd y negroaid o'r planfeydd cymydogaethol i fod yn dystion o'r olygfa. Gôf nerthol o'r enw Hewes a roddai y ffrewylliadau. Rhoddwyd deg a deugain, yn ystod y rhai y gellid clywed dolefau fy nhad filldir o ffordd, ac yna bu ataliad. Gwir ei fod wedi taro dyn gwyn; ond, fel eiddo gwerthfawr, ni ddylid ei niweidio. Teimlid curiad ei waed gan ddynion medrus. O! fe allai ddal y cyfan. Eilwaith ac eilwaith y disgynai y ffrewyll ar ei gefn briwedig. Ei ddolefau a ddeuent yn fwy-fwy llesg, fel mai gruddfaniad gwanaidd oedd yr unig atteb i'r ergydion olaf. Bwriwyd ei ben wedi hyny yn erbyn y pawl, a'i glust ddehau a sicrhawyd wrtho â llinyn; gwnaeth y gyllell ei gwaith yn gyflym, a gadawyd yr aelod a waedai yn rhwym yn y lle. Yna caed hwrê gan y lluaws diraddiol, a'r waedd, "Dyna 'r peth ga'dd ef am daro dyn gwyn!" Yn nghyfrif y bobl wynion anllythyrenog a mileinig, a wnaent i fyny y tystion o'r fath olygfeydd yn Swydd Charles, Maryland, nid oedd y dyn na theimlai ddigon o soriant wrth glywed am "*nigger*" yn taro dyn gwyn, fel ag i fod yn barod i'w losgi yn fyw, yn gymhwys ond yn unig i gael ei bwyo allan o'r gymydogaeth.

Yn flaenorol i'r helynt yma, buasai fy nhad, hyd y gallaf gasglu, yn ddyn o dymher dda ac o galon ysgafn, yn brif-flaenor yr holl ddigrifwch ar ddiwedd cynhauaf ac yn nifyr-gampau y Nadolig. Ei *banjo* ef oedd bywyd y fferm, ac ar hyd y nôs yn amser llawenydd y chwareuai arno tra y dawnsiai y negroaid eraill. Ond o'r awr hon allan, cyfnewidiodd yn hollol. Yn sorllyd, pruddaidd, ac ystyfnig, ni ellid gwneud dim âg ef. Yr oedd llaeth tynerwch dynol yn ei galon wedi ei droi yn fustl. Trist-fyfyriai uwchben y camdriniaethau a gawsai. Ni wnelai ofn, na bygythion i'w werthu i'r deau pell—y mwyaf o'r holl ddychrynfeydd i'r caethwas yn Maryland—beri iddo fod yn drinadwy. Felly anfonwyd ef ymaith i Alabama. Beth fu ei dynged ddilynol, ni ddaeth fy mam na minnau byth i wybod; y dydd mawr a ddatguddia y cwbl. Hon oedd y bennod gyntaf yn fy hanes.

## PENNOD II.

### FY NHREIAL MAWR CYNTAF.

TARDDIAD FY ENW.—MEISTR TIRION.—EFE YN BODDI.—GWEDDIAU FY MAM.—ARWERTHIANT CAETHION.—FY RHWYGO ODDIWRTH FY MAM.—AFIECHYD TRWM.—MEISTR CREULAWN.—FY NGWERTHU EILWAITH, A'M HADFERU I'M MAM.

Ar ol i Newman werthu fy nhad, ni wnai Dr. McPherson mwyach adael fy mam yn nghyflog gydag ef. Dychwelodd o ganlyniad i etifeddiaeth y Dr. Yr oedd ef yn llawer tirionach i'w gaethion na'r planwyr yn gyffredin; ni chaniatai i neb byth eu taro. Dyn o dueddiadau caredig a da ydoedd,—hael, llawen, calonog. Nis gallai unrhyw radd o allu unbenaethol byth ei arwain i greulonedd. Fel y plentyn negroaidd cyntaf a anwyd iddo, yr oeddwn yn anwylun arbenig ganddo. Rhoddodd i mi ei fedydd-enw ei hun, Josiah; a chyda hwnw rhoddodd i mi hefyd fy enw olaf, Henson, ar ol ewythr iddo, yr hwn ydoedd swyddog yn rhyfel y Chwyldroad. Llecyn dysglaer yn fy mebyd oedd fy arosiad gydag ef—dysglaer, etto byr-barhaol, ysywaeth! Cyflym yr ymaeddfedai digwyddion, y rhai oeddynt i gyfnewid holl agweddiad fy mywyd. Nid oedd y doctor hynaws yn rhydd oddiwrth y coll a amgylcha ddynion o natur rwydd a chymdeithasol

yn rhy fynych, mewn cylchoedd yn gogwyddo at annghymedroldeb. Nis gallai reoli ei dueddiadau at loddest. Er fod iddo glod uchel am ddaioni mewnol, a duwiol haelionusrwydd yn mron, enill tir yn barhaus wnelai ei arferion annghymedrol, nes achosi ei farwolaeth o'r diwedd. Cafwyd ef un boreu gan ddau negro perthynol i'r blanfa yn gorwedd yn farw yn nghanol ffrwd gul, nad oedd yn droedfedd o ddyfnder. Buasai mewn difyr-gwmni y nos o'r blaen, a phan yn dychwelyd gartref, cwympodd oddiar ei farch, mae 'n debyg, ac am ei fod yn rhy feddw i allu codi, yno y gorweddai nes boddi. "Dyna y fan lle boddodd *massa!*" Mor dda y gallaf gofio fel y nodid y lle i mi yn y geiriau a goffawyd !

Am ddwy neu dair blynedd y buasai fy mam yn aros gyda'i theulu ieuanc o chwech o blant ar etifeddiaeth y doctor, ac ar y cyfan ni a fuasem yn dra dedwydd. Yr oedd yn fam dda i ni, yn wraig o dduwioldeb dwfn, ac yn bryderus uwchlaw pob peth am ddod âg ystyriaeth o grefydd i gyffwrdd â'n calonau. Pa fodd neu pa le y cyrhaeddodd wybodaeth am Dduw, ac y daeth yn gydnabyddus â Gweddi yr Arglwydd, yr hon y dysgai ni i'w hadrodd mor fynych, yr wyf yn anabl i ddweyd. Yr wyf yn cofio ei gweled yn fynych ar ei gliniau, a'i chlywed yn gweddio drwy ail-adrodd drachefn a thrachefn yr un erfyniau, ynghyda brawddegau byrion, y rhai oeddynt o fewn cyrhaedd fy amgyffredion plentynaidd, ac a arosasant yn fy nghôf hyd yr awr hon.

Yr oedd tymor ein hundeb dedwydd fel un teulu, er alaeth i ni, yn awr ar ben! Trychineb mawr i

ni oedd marwolaeth y doctor, canys yr oedd yr etifeddiaeth a'r caethion i gael eu gwerthu a'r cynyrch i gael ei ranu rhwng yr etifeddion. Yr hysbysiad difrifol cyntaf fod y gwerthiad i gymeryd lle; y wybodaeth fod holl rwymau yr amser a fu i gael eu gwahanu; y braw gorwyllt o dybied y caem ein hunain "i waered i'r de;" y cwbl-sicrwydd braidd y bydd i'r naill aelod o'r teulu gael ei ysgaru oddiwrth y lleill; tremiadau pryderus wynebau y prynwyr; yr ing wrth ymadael, yn fynych am byth, oddiwrth wr, gwraig, a phlentyn—rhaid gweled a theimlo y pethau hyn mewn trefn i'w cyflawn ddeall. Er ieuanged oeddwn ar y pryd, aeth yr haiarn i mewn i'm henaid. Y mae y côf am doriad i fyny etifeddiaeth McPherson wedi ei ardebu yn ei ddelweddau, fawr a mân, yn fy meddwl. Y dorf oedd o amgylch y *stand*, y negroaid yn un twr gyda'u gilydd, archwiliad y gewynau a'r dannedd, yr arddangosiad o nerth corphorol, trem yr arwerthydd, ing fy mam—gallaf gau fy llygaid, a'u gweled oll.

Fy mrodyr a'm chwiorydd a gynygid ymaith gyntaf, un ar ol y llall, tra yr ymaflai fy mam, wedi ei pharlyseiddio gan ofid, yn fy llaw i'm cadw yn ei hymyl. Ei thro hithau a ddaeth, a phrynwyd hi gan Isaac Riley, o Swydd Montgomery. Yna cynygiwyd finnau i'r prynwyr cynulliedig. Fy mam, wedi haner gwallgofi wrth feddwl ymadael am byth â'i holl blant, a ymwthiodd drwy y dorf, tra yr oeddid yn cynyg arnaf fi, i'r fan lle y safai Riley. Cwympodd wrth ei draed, ymaflai yn ei liniau, gan ddeisyf arno, mewn tôn-nodau nas gall ond mam yn unig eu cynyrchu, i brynu ei *baban* yn

gystal a hithau, a chadw iddi o leiaf un o'i rhai bychain. A oes modd credu ddarfod i'r dyn yma, yr apelid atto yn y modd hwn, nid yn unig allu troi clust fyddar i'w deisyfiad, ond hefyd ei ryddhau ei hun oddiwrthi â'r fath ergydion a throediadau ag a'i gwnelai yn angenrheidiol iddi ymgripian o'i gyrhaedd, a chymysgu gruddfaniad dyoddefaint corphorol gydag oer-gri calon doredig? Fel yr ymlusgai ymaith oddiwrth y dyn bwystfilaidd, clywais hi yn llefain allan, "O! Arglwydd Iesu, pa hyd, pa hyd y bydd raid i mi ddyoddef yn y ffordd hon?" Y pryd hwnw rhaid fy mod rhwng pump a chwech oed.

Prynwyd fi gan ddyeithr-ddyn o'r enw Robb, ac i mi *robber* yn ddiau oedd efe. Cymerodd fi i'w gartref, oddeutu deugain milldir o ffordd, ac a'm rhoddodd yn mangre ei negroaid, gydag oddeutu deugain eraill, o bob oed, lliw, a chyflyrau, oll yn ddyeithriaid i mi. Am danaf fi, wrth gwrs, ni ofalai neb. Trwy y diraddiad hwn, yr oedd y caethion wedi creuloni, ac ni chydymdeimlent â mi. Clafychais yn fuan, ac am rai dyddiau gorweddwn braidd yn farw ar lawr. Weithiau rhoddai caethwas i mi ddarn o ŷd-fara, neu fymryn o ysgadenyn. O'r diwedd, deuais mor wan fel nas gallwn symud. Yr oedd hyn, pa fodd bynag, yn ffafriol i mi, oblegid yn mhen ychydig wythnosau, cyfarfu Robb â Riley, yr hwn a brynasai fy mam, a chynygiodd fy ngwerthu yn rhad iddo. Dywedodd Riley ei fod yn ofni "i'r *nigger* bychan farw;" ond cytunodd yn y diwedd i dalw swm bychan am danaf yn y ffordd o bedoli ceffylau, os byddwn byw, ond dim, os byddwn

farw. Yr oedd Robb yn cadw tafarn, ac yn berchenog nifer o gerbydau a cheffylau i'w rhedeg, ac yn byw yn ymyl Montgomery Court House; ac yr oedd gan Riley yntau efail, ryw bum' milldir o'r fan hono. Rhwymodd hyn y fargen, ac yn ebrwydd anfonwyd fi at fy mam. Cyfnewidiad gwynfydedig ydoedd. Buaswn yn gorwedd ar swpyn o garpiau a daflesid ar lawr aflan. Ar hyd y dydd gadewid fi yn unig, i lefain am ddwfr, ac i lefain am fy mam; y caethion, y rhai a aent allan ar doriad dydd, pan ddychwelent ni ofalent ddim am danaf fi. Yn awr, yr oeddwn unwaith yn rhagor gyda'm cyfeilles oreu ar y ddaear, a than ei gofal; ac er mor amddifad ydoedd o foddion priodol i'm meithrin, adferwyd fy iechyd, a thyfais i fod yn fachgen a dyn o gryfder anarferol. Gwasanaethais Riley yn ffyddlawn am lawer o flynyddoedd. Yr oedd yn arw ac anfoesgar yn ei arferion, ac yn ddiegwyddor a chreulawn yn ei ymarweddiad cyffredin. Ychydig hamdden i orphwys oddiwrth drymwaith blinderog a roddai i'w gaethion, a salw oedd y moddion cynhaliaeth a gaent yn wyneb eu llafur, a dim sicrwydd am iawnderau personol. Pan fo meistr o'r fath yn ormesddyn trwyadl, mynych y daw y caethion i fod yn wasaidd, twyllodrus, celwyddog, a lladronllyd. Nid oedd Riley a'i gaethion yn eithriad i'r rheol gyffredin, ond gellid eu nodi fel egluriadau cymhwys o natur y berthynas.

## PENNOD III.

### FY MEBYD A'M HIEUENCTYD.

LLAFUR BOREUOL.—BYWYD CAETHWAS.—YMBORTH, LLETY, DILLAD. —DIFYRION.—YSBEIDIAU O HAUL-DYWYNIAD.—FY NGWROL-GAMPAU.—YN DYFOD YN ORUCHWYLIWR AC AROLYGYDD CYFFREDINOL.

FY ngorchwylion cyntaf oeddynt cludo celyrneidiau o ddwfr i'r dynion a weithient, a dal aradr a ddefnyddid i chwynu rhwng y rhesi ŷd. Fel y deuwn yn hynach ac yn dalach, ymddiriedwyd gofal cyfrwy-farch fy meistr i mi. Yna rhoddwyd arf chwynu yn fy nwylaw, a buan y disgwylid i mi wneud gwaith dyn bob dydd; ac nid hir y bum heb allu ei wneud, o leiaf cystal a'm cymdeithion mewn caethiwed.

Gwasanaetha desgrifiad o fywyd dyddiol caethwas ar blanfa ddeheuol er egluro nodwedd ac arferion y caethwas a'r caeth-feistr, y rhai a greir ac a wneir yn barhaol gan eu cyflwr perthynasol. Prif ymborth y caethion ar blanfa fy meistr oedd ŷd-flawd a phenwaig heilltion (*salt herrings*); at yr hyn yr ychwanegid ychydig laeth enwyn yn yr haf, a'r ychydig lysiau a allai pob un eu codi iddo ei hun a'i deulu ar y dernyn bychan o dir a ganiateid iddo i'r amcan, ac a elwid *truck-patch*.

Ar amserau cyffredin, dau bryd rheolaidd yn y dydd a gaem; boreufwyd am ddeuddeg o'r gloch, wedi bod yn gweithio er toriad y dydd; a swper wedi iwaith y gweddill o'r dydd fyned drosodd; yn amser cynhauaf, caem dri phryd. Ein gwisg oedd o liain bras; i'r plant, dim ond crys; i'r rhai hynaf, pâr o lodrau byrion, neu ŵn (*gown*) mewn ychwanegiad, yn ol y rhyw. Heblaw y pethau hyn, siaced gron, neu *over-coat* yn y gauaf, het wlanen unwaith mewn dwy neu dair blynedd, i'r gwrywiaid, a phâr o esgidiau geirwon unwaith yn y flwyddyn. Lletyem mewn bythod coed, ac ar y ddaear noeth. Yr oedd lloriau coed yn fwyniant anadnabyddus. I'r un ystafell, fe droid yn nghyd, fel gwartheg, ddeg neu ddeuddeg o bersonau—gwyr, gwragedd, a phlant; yr oedd pob meddylddrych am goethder, wrth gwrs, allan o'r cwestiwn. Nid oedd genym welyau, na dodrefn o unrhyw ddesgrifiad. Ein gorweddfäau a wneid i fyny o wellt a hen garpiau, wedi eu taflu i lawr yn y cornelau, a'u cau i mewn âg estyll; planced sengl oedd yr unig orchudd. Ein ffordd ddymunolaf o gysgu, pa fodd bynag, oedd ar blanc, â'n penau wedi eu codi ar hen siaced, a'n traed yn boethion o flaen y tân cyn ei fyned allan. Chwibanai y gwynt, a chwythid y gwlaw a'r eira drwy yr agenau, a'r ddaear laith a yfai y gwlybaniaeth nes bod y llawr yn domlyd fel cwt mochyn. Y fath oedd ein teiau. Yn y mangreoedd truenus hyn y cauid ni i mewn y nôs, ac y'n porthid y dydd; yma y plant a enid, a'r cleifion—a esgeulusid.

Er gwaethaf y drefn hon o gamdriniaeth, tyfais i fyny yn fachgen corphol a chryf. Pan yn bymtheg

oed ychydig allai gydymgais â mi mewn gwaith neu chwareuaeth. Yr oeddwn mor hoenus ag iwrch ieuanc; ac yn gorlifo gan yni corphorol, gallwn redeg yn gynt, ymafael yn well, a neidio yn uwch na neb o'm deutu; ac mewn dawns hwyrol, yn nghegin cymydog neu'r eiddom ein hunain, deuai fy nhraed yn llwyr anweladwy gan mor gyflym y symudent. Parai hyn oll i'm meistr a'm cyd-gaethion edrych arnaf fel un rhyfeddol o bert, a phrophwydo y pethau mawrion a wneid genyf pan y deuwn yn ddyn. Enynwyd fy nheimlad o orwagedd yn ddirfawr, a chydunwn yn hollol â'u hopiniwn. Ni ddarfu i Julius Cæsar erioed gynllunio ac ymgyrhaedd yn fwy uchelgeisiol am y goron ymerodrol nag y gwnawn innau er chwynu yn well, medi yn well, nithio yn well, dawnsio yn well, llwyr drechu pob cydymgeisydd; ac oddiwrth bob peth allaf gasglu ni fwynhaodd efe ei oruchafiaeth erioed haner cymaint. Byddai un gair o gymeradwyaeth oddiwrth y crachorthrymydd a lywodraethai drosom, yn ddigon i'm gosod i fyny am fis.

Moler Duw, am y gall bywiawgrwydd gorfoleddus ieuenctyd, gan nad pa mor gaethiwus oherwydd amgylchiadau, weithiau dori dros eu terfynau oll. Hiliogaeth ysgafn-galon yw yr eiddom ni. Nis gall y meistr gerwinaf, mwyaf trachwantus am elw, ddychryn na fflangellu y digrifwch allan o honom; yn sicr ni wnaeth yr hen Riley ei yru allan o honof fi. Yn yr amserau hyny, byddwn yn cael llawer adeg lawen; a buaswn yn cael felly, hyd yn nod pe yn byw heb ddim ond *moccasins* a nadroedd cynffondrwst (*rattlesnakes*) yn nghors Okafenoke.

Gwnaeth caethwasiaeth ei oreu i'm gwneud i yn druenus; ond, gydag adgofion am gabanau tomlyd, traed rhewedig, llafur blin yn ngwres tanbeidiol yr haul, heidia eraill i mewn, am hyfryd ddyddiau Nadolig, dawnsiau o flaen drws ein hen feistr am y dracht cyntaf o faidd ŵy, ychwaneg o fwyd ar ddyddiau Gwylion, ymweliadau nosawl â pherllanau, rhostio cywion fyddent wedi dianc, a thriciau gorfedrus i osgoi gwaith. Y Duw a wna i'r ŵyn lamu, a'r cathod ieuainc chwareu, a'r adar ganu, a'r pysg neidio, a roddodd i mi galon ysgafn, lawen, a gorfoleddus. Gwir ydoedd, fod digrifwch a rhyddid y Nadolig, pan daflai y meistr ei ffrynt yn agored, yn cael ei ddilyn yn gyffredin gan wrth-weithiad arswydol, dan ba un y gyrai ac y mellditthiai yn waeth nag erioed, etto, yr oedd y digrifwch a'r rhyddid yn ffeithiau sefydlog; yr oeddym yn eu cael, ac nis gallai yntau eu lluddias.

Heblaw yr adgofion dyddanus hyn, y mae genyf eraill o natur fwy dwfn a goludog. Dysgais yn foreu ddefnyddio fy ysbryd anturiaethus i leshau fy nghyd-ddyoddefwyr. Y mae cyflwr y dyn caeth yn ddrwg ddigon; ond y mae eiddo y fenyw, a ddirgymhellir yn fynych i gyflawni gwaith caled, claf neu iach, yn ddi-dosturi a di-gynorthwy, yn un a gyffry ysbryd cydymdeïmlad yn mhob calon nad yw yn farw i bob tynerwch. Yn yr olwg ar boenydiau llawer o'r gwragedd, mynych y llethid fi gan lwyth o ofid. Erioed ni theimlodd yr un marchog *gwyn*, wrth waredu boneddiges hardd-deg o gaethiwed creulawn, guriad calon eon-falch yn fwy angerddol na mi, yr hwn oeddwn farchog *du*, pan yn

rhedeg i lawr un o'r asgelliaid i'w guddio mewn lle allan o'r ffordd hyd y nôs, fel y gallwn ei drosglwyddo i ryw ferch ddu hawddgar a weithid yn rhy drwm, i'r hon y byddai ar unwaith yn ymborth, yn ddanteithfwyd a meddyginiaeth. Erioed ni theimlodd un o Ysgotiaid y gororau, wrth godi *black-mail*, neu ysgubo ymaith ŷr o wartheg, yn sicrach o uniondeb ei weithred na minnau o'm gweithred, pan fyddwn yn gyru mochyn neu ddafad filldir neu ddwy i'r coedydd i'w lladd, er daioni i'r rhai yr oedd Riley yn eu newynu. Teimlwn fy mod yn dda, yn foesol, yn arwraidd.

A oedd hyn allan o le? Mewn atebiad, nid oes genyf ond dweyd nad yw fy nghydwybod, yn y pellder hwn o amser, yn fy ngwarthruddo o'i herwydd. Y pryd hwnw, cyfrifwn y fath weithredoedd yn mhlith y goreuon o'r eiddof. Fy addysg ydoedd yn y mwyniant o wneuthur daioni, yn nwyfoldeb calon dosturiol, yn nghyfiawnder y teimlad o soriant yn erbyn y creulawn a'r gorthrymus. Yno ac ar y pryd, gwneid fy enaid yn ymwybodol o'r holl arwriaeth yr oedd fy amgylchiadau a'm sefyllfa mewn bywyd yn ei ganiatau. Yr wyf yn caru y syniad yn ei rwysg ysblenydd o gylch hen gestyll, a chyda'i urdd-gelfi a'i wrhydri; ond gan i mi ddisgyn mewn amseroedd gwahanol, yr wyf hefyd yn ei garu yn niwyg gartrefol Sambo fel Paladin, Dinah fel morwynig orthrymedig, a'r hen Riley fel gorthrymydd câs.

Trwy y dylanwad a enillwyd yn y modd hwn, y gwaith mawr a gyflawnid genyf ar y fferm, a'r darganfyddiad o gnafeidd-dra y goruchwyliwr, yr

hwn a ysbeiliai ei feistr i'w gyfoethogi ei hun, a ddaliwyd yn y gwaith, ac a drowyd o'i le, fe'm dyrchafwyd i fod yn arolygydd ar waith y fferm; a llwyddais i godi dwbl y cnydau a rhagor, a chyda llafur mwy boddhaus ac ewyllysgar, nag a welsid ar yr etifeddiaeth erioed o'r blaen.

Yr oeddwn yn awr, mewn gwirionedd yn oruchwyliwr. Yr oedd fy malchder a'm huchelfrydedd wedi fy ngwneud yn feistr ar bob gwaith perthynol i fferm. Ond, fel pob uchelfrydedd, ei wobr ydoedd ychwaneg o feichiau. Yr oedd y cnydau gwenith, ceirch, haidd, cloron, ŷd, tybacco, oll genyf i ofalu am danynt. Mynych y gorfodid fi i gychwyn haner nôs gyda'r bedrolfen i'r farchnad bellenig, a gyru yn mlaen drwy laid a gwlaw hyd y boreu, gwerthu y cynyrch, cyrhaedd adref yn newynog a lluddedig, a medi, naw gwaith o bob deg, fel fy unig wobr, felldithion am na chawswn brisiau uwch. Yr oedd fy meistr yn dyngwr ofnadwy. Er mor glir y gwelai fy ngwasanaethgarwch iddo, yr oedd yn ormod o anghenfil i'm gwobrwyo â charedigrwydd, nac hyd yn nod â thriniaeth weddol. Cyn i mi ddyfod i'r sefyllfa bwysig hon, pa fodd bynag, digwyddodd amgylchiad a gynyrchodd ddylanwad mor gryf ar fy nghynydd dealltwriaethol, fy nodwedd, fy sefyllfa, meithriniad crefyddol, ac yn fyr, ar fy holl natur, gorph ac enaid, fel y teilynga sylw a chofnodiad arbenig. Eithr gofynol yw cael pennod arall at hyn.

## PENNOD IV.

### FY NHROEDIGAETH.

FY MAM WEDDIGAR.—DYN DA.—CLYWED PREGETH AM Y WAITH GYNTAF.—EI HEFFAITH ARNAF.—GWEDDI A CHYMUNDEB.—Y BLAEN-FFRWYTHAU.

YR wyf yn cofio cael fy nghipio oddiwrth fam anwyl a serchog; gwelais ei dagrau, clywais ei gruddfanau; gallaf gofio yr holl fanylion. Er pan yn fachgen bychan, yr wyf yn cofio fy mam; cofiwyf y fath weddiau fyddai gan fy anwyl fam; clywais hi yn gweddio drosof, oblegid yr oedd hi yn fenyw Gristionogol dda cyn fy ngeni i. Yr wyf yn diolch i Dduw am i mi gael fy ngeni o fam Gristionogol dda; mam y disgynodd ei gweddiau ar fy nghlust. O'r holl fendithion daearol, nid oes un a ddaw yn agos i fam dda. Cofus genyf ei herfyniau, ei gweddiau at Dduw drosof fi. Gwyn fyd y plentyn, y mab neu y ferch, a fwynha weddiau mam. Da y cofiwyf y teimlad a weithiai y gweddiau hyny ar fy nghalon, er nad oeddwn ond bachgen.

Ymchwydda fy nghalon gan ddiolchgarwch, pan y crybwyllaf enw dyn da, yr hwn gyntaf a ddysgodd i mi wynfydedigrwydd crefydd. Ei enw oedd John McKenny. Preswyliai yn Georgetown, ychydig filldiroedd yn unig o blanfa Riley; pobydd ydoedd

wrth ei alwedigaeth; o ran ei nodwedd yr oedd yn Gristion cywir a haelfrydig. Yr oedd mewn modd arbenig yn hynod am ei wrthwynebrwydd i gaethwasiaeth, a'i benderfyniad i beidio gwneud defnydd â llafur caeth yn nglyn â'i fusnes. Ni fynai gymaint a hurio caethwas y byddai yn rhaid talu pris ei lafur i'w feistr; boddlonai weithio â'i ddwylaw ei hun, neu â'r fath lafur rhydd ag a allai sicrhau. Ei glod ydoedd uchel, nid yn unig ar gyfrif yr ymattaliad braidd hynod hwn oddiwrth yr hyn nad ystyriai neb o'i ddeutu yn annghyfiawn, ond hefyd am ei onestrwydd a'i ragoroldeb cyffredinol. Gwasanaethai y dyn hwn yn achlysurol fel gweinidog yr Efengyl, a phregethai mewn ardal lle yr oedd pregethwyr yn lled brin yn y cyfnod hwnw. Un Sabbath, pan oedd ef i weinyddu fel hyn mewn lle oedd dair neu bedair milldir oddiwrthym, cymhellai fy mam fi i ofyn caniatad fy meistr i fyned a'i wrando. Curasid fi mor fynych am wneud y fath gais fel y gwrthodwn gydsynio. Daeth fy mam attaf a dywedodd:—"Yn awr, fy mab, yr wyf am i chwi fyned a gofyn i'ch meistr am gael myned i waered i glywed Mr. McKenny yn pregethu." Dywedais wrth fy mam, "Nid oes arnaf eisieu myned; ofnwyf mai fy nghuro a wna." Dywedodd hithau:—"Ewch a gofynwch iddo." Troais o amgylch, fel llawer o fechgyn eraill, a dywedais nad awn. Safai â'i phwys ar reilen, gollyngodd ei phen i lawr, a thywalltodd ddeigryn. Safwn, ac edrychwn arni, a theimlais oblegid ei galar. Dywedais, "Mi a äf, fy mam." Dywedodd hithau, "Y mae hyny yn iawn." Aethum i fyny at y tŷ, ond cyn cyrhaedd o honof

y drws, canfu meistr fy nghysgod. Trodd o amgylch, a gofynodd beth oedd arnaf eisieu. Dywedais, "Y mae arnaf eisiéu gofyn i chwi os caf fyned i'r cyfarfod." "Pa le?" "I lawr yn Newport Mill." "Pwy sydd yn myned i bregethu?" "Mr. McKenny." "I ba beth y mae arnoch eisieu ei glywed yn pregethu?" Yma yr oeddwn mewn anhawsdra; ni wyddwn beth oedd arnaf eisieu yno, a dywedais felly wrtho. "Pa les a wna i chwi?" Yma, etto, yr oeddwn mewn penbleth. "Pwy roes hyn yna yn eich pen?" Dyna helynt arall; nid oedd arnaf eisieu gyru fy mam i drwbl. Ond hi a'm dysgai bob amser i ddweyd y gwir. Felly attebais, "Fy mam." "Ha," eb efe, "yr oeddwn yn meddwl mai eich mam a wnaeth. Tybiaf fod arni eisieu eich andwyo. Pa bryd y deuwch yn ol?" "Mor fuan ag y bydd y cyfarfod drosodd." Wel, aethum i'r cyfarfod, clywais y pregethwr, ond nis gallwn ei weled. Ni adawent i *niggers* ddod i'r cyfarfod. Aethum o amgylch y tŷ, yr oeddwn yn ei glywed, ac o'r diwedd daethum gyferbyn â'r drws. Gwelais ef â'i ddwylaw i fyny, yn edrych tua'r nef, a dywedai gyda phwyslais, "Profodd Iesu Grist, Mab Duw, farwolaeth dros bob dyn, dros yr uchel, dros yr isel; dros y cyfoethog, dros y tylawd; y caeth, y rhydd; y negro yn ei gadwynau, y dyn gwyn mewn aur a gemau." Yr oedd ei galon yn llawn o gariad Crist, a thrwy nerth Ysbryd Duw pregethai iachawdwriaeth gyffredinol drwy Iesu Grist. Yr oeddwn yn sefyll ac yn clywed hyn. Cyffyrddodd â'm calon, a gwaeddais allan: "Yr wyf yn rhyfeddu os bu Iesu Grist farw drosof

fi." Ac yna rhyfeddwn beth allasai ei gymell i farw drosof fi. Yr oeddwn y pryd hwnw yn ddeunaw oed; ni chlywswn erioed bregeth, na dim ymddyddan o unrhyw fath ar faterion crefyddol, oddieithr yr hyn a glywswn gan fy mam yn nghylch ein cyfrifoldeb i'r Bod Goruchaf. Y testun oedd Heb. ii. 9—y cyntaf erioed a glywswn, a gwybod mai o'r Beibl yr oedd. Nid anghofiais byth mo hono, ac nid aeth braidd ddiwrnod heibio ar ol hyny na byddwn yn ei adgofio, a hefyd y bregeth a draddodid oddiarno.

Desgrifid cymeriad dwyfol Iesu Grist, ei gariad tyner at ddynolryw, ei ysbryd maddeugar, ei dosturi tuag at yr alltud a'r dirmygedig, ei greulawn groeshoeliad a'i ogoneddus esgyniad, yn dra chlir, ac arosid ar rai o'r materion gyda nerth mawr,—mawr o leiaf i mi, yr hwn oeddwn yn gwrando am y pethau hyn y waith gyntaf yn fy mywyd. Drachefn a thrachefn yr ail-ddywedai y pregethwr y geiriau, "*dros bob dyn.*" Nid oedd y newyddion da hyn, yr iachawdwriaeth hon, er mwyn rhyw ychydig o rai detholedig. Yr oeddynt ar gyfer y caethwas yn gystal a'r meistr, y tylawd fel y cyfoethog, ar gyfer y neb a erlidir, y gorthrymedig, y trwmlwythog, y caeth; ïe, i mi, yn mhlith y gweddill, greadur tylawd, dirmygedig, na chyfrifid gan eraill yn deilwng ond i'w gamdrin, a'i orfodi i weithio heb dâl, a'i gadw mewn hollol ddiraddiad meddyliol a chorphorol. O! y gwynfydedigrwydd a'r melusder o deimlo fy mod yn cael fy NGHARU. Braidd na allaswn farw y foment hono gan lawenydd, a pharheais i adrodd wrthyf fy hun, "Y mae y

Gwaredwr tosturiol y clywais am dano 'yn fy ngharu i.' 'Edrycha i lawr o'r nefoedd mewn tosturi arnaf fi.' 'Bu farw i achub fy enaid i.' Ac hefyd, 'Efe a'm croesawa i i'r nefoedd.'" Yr oeddwn yn ymgolli mewn llawenydd bendigedig. Tybiwn weled bod gogoneddus, mewn cwmwl o ysblander, yn gwenu arnaf oddi uchod. Mewn cyferbyniad llym i'r profiad a deimlaswn o ddirmyg a bwystfileiddiwch fy meistr daearol, mawr fel yr oeddwn yn gallu ymfoddhau yn ngwenau llon y Bod Nefol hwn. Meddyliwn fel hyn: "Bydd Ef i mi yn noddfa anwyl,—Efe a sych ymaith bob deigr oddiwrth fy llygaid." "Yn awr gallaf oddef pob peth; nid ymddengys dim yn anhawdd ar ol hyn." Teimlwn yn sicr, pe na buasai "Massa Riley" ond yn ei adnabod, nad allasai fyw y fath fywyd garw, drygionus, a chreulawn mwy. Wedi fy llyncu i fynu yn mhrydferthwch y cariad dwyfol, yr oeddwn yn "caru fy ngelynion ac yn gweddio dros y rhai a wnaent yn ddirmygus fy ngham drin a'm temtio."

Gan droi y pethau a glywswn yn fy meddwl fel yr elwn adref, daethum mor gynhyrfus fel y troais o'r ffordd i'r coed, a gweddiais ar Dduw am oleuni a chymorth gyda difrifoldeb, pa un, gan nad pa mor anoleuedig ydoedd, a ystyrir genyf yn ddidwyll a chalonog; ac oddiwrth rediad fy mywyd dilynol, arweiniwyd fi i dybied ei fod yn gymeradwy yn ngolwg yr Hwn a wrendy weddi. Pa fodd bynag, yr wyf yn dyddio fy nhroedigaeth a'm cyfodiad i fywyd newydd—i ymwybodolrwydd o allu a thynged uwch na dim y meddyliaswn am dano o'r blaen—o'r dydd hwn a wnaed mor gofiadwy i mi. Defn-

yddiais bob moddion a chyfleusdra i chwilio i mewn i faterion crefyddol; ac mor ddwfn oedd fy argyhoeddiad o'u pwysigrwydd uwchlaw pob peth arall, mor glir oedd fy ymwybodolrwydd o'm beiau, mor ddiamheuol fy nirnadaeth o'r tywyllwch a'r pechod a'm cylchynai, fel nas gallwn lai na siarad llawer gyda'r rhai oeddynt o'm deutu yn nghylch y pethau hyn; ac nid hir y bum heb ddechreu gweddio gyda hwynt, eu cynghori, a chyfranu i'r caethion druain yr ychydig wreichion o oleuni o fyd arall ag oeddynt wedi cyrhaedd fy llygaid i. Yn mhen ychydig flynyddoedd, daethum i fod yn bregethwr tra derbyniol yn eu plith ; a chredwyf i mi, drwy ras Duw, fod yn fendithiol i lawer.

Rhaid i mi yn bresenol, pa fodd bynag, ddychwelyd at redfa fy mywyd mewn achosion bydol, ffeithiau pa un yr amcanwyf yn benaf eu hadrodd.



## PENNOD V.

### FY ANAFU DROS FY OES.

YN CYMERYD GOFAL FY MEISTR MEDDW.—EFE YN YMLADD A GORUCHWYLIWR.—EI WAREDU.—YN CAEL FY NGHURO YN ARSWYDOL GAN Y GORUCHWYLIWR.—FY MEISTR YN CEISIO IAWN DRWY GYFRAITH, OND YN METHU.—DYODDEFIADAU Y PRYD HWNW AC WED'YN.—YN CADW FY SWYDD FEL AROLYGYDD.

EGLURIR y gwahaniaeth rhwng y modd y bwriadwyd i ddynion edrych ar eu gilydd fel plant i'r un Tad, a'r modd yn mha un y trinia pobl o wahanol liwiau eu gilydd yn weithredol, yn hynod dda drwy ddigwyddiad a gymerai le ryw flwyddyn neu ddwy wedi y cyfnod hwn, sef pan oeddwn yn bedair ar bymtheg neu ugain oed. Yr oedd arferion fy meistr yn gyfryw ag oeddynt gyffredin ddigon yn mhlith planwyr llygredig y gymydogaeth; ac un o'u mynych ymarferiadau oedd ymgasglu ar y Sadwrn, neu y Sul—y rhai oeddynt eu gwylddyddiau—i *gamblo,* rhedeg ceffylau, ymladd ceiliogod, dadleu pynciau gwladol, yfed *whisky* a brandi a dwfr ar hyd y dydd. Yn berffaith wybyddus na byddent abl i ddilyn eu ffordd eu hunain adref y nôs, archai pob un i'w was penaf ddyfod ar ei ol, i'w helpu ar hyd y ffordd. Dewiswyd fi i gyflawni y ddyledswydd gyfrinachol hon gan fy meistr; a lluosog oeddynt yr adegau y bum yn ei ddal ar ei

farch pryd nad allai aros ar y cyfrwy ei hunan, gan gerdded wrth ei ochr drwy y tywyllwch a'r dom, o'r dafarn i'w dŷ ei hun. Yr oedd cwerylon a therfysgoedd o'r desgrifiad mwyaf ffyrnig yn ganlyniadau mynych i'r cyfarfodydd hyn; a pha bryd bynag y deuent yn neillduol beryglus, pan y teflid gwydrau, y tynid dur-lafnau, ac y tanid llawddrylliau, deuai yn ddyledswydd ar y caethion ruthro i mewn, a phob un lusgo ei feistr o'r ymladdfa, a'i gludo adref. A dweyd y gwir, yr oedd hwn yn rhan o'm gwaith nad oeddwn yn teimlo unrhyw wrthwynebiad iddo. Yr oeddwn yn ieuanc, yn rhyfeddol o gryf a hunan-hyderus, ac yn y fath ffraeon gallwn gario pethau gyda llaw uchel, hyrddio fy ffordd i blith y bobl wynion—yr hyn y buasai bron yn angau i mi daro un o honynt—ymaflyd yn fy meistr, a'i lusgo allan, ei godi ar ei farch, neu ynte ei wthio i'w gerbydan, gyda y rhwyddineb â pha un y symudwn gydaid o ŷd. Gwyddwn fy mod tra yn gwneud iddo yr hyn nas gallai wneud iddo ei hun, yn dangos fy nhragoriaeth ar eraill, ac yn sicrhau eu parchedigaeth i ryw fesur ar yr un pryd.

Ar un o'r achlysuron hyn, cwerylodd fy meistr â Bryce Litton, goruchwyliwr ei frawd. Ochrai pawb oedd yn bresenol gyda Litton yn ei erbyn ef, a buan y daeth yn ymrysonfa gyffredinol yno. Eisteddwn allan ar risiau ffrynt y dafarn ar y pryd, ond wedi clywed y terfysg, rhuthrais i mewn i gymeryd gofal yr hyn a ymddiriedid i mi. Gallai fy meistr, yr hwn oedd ddyn cryf a chleisiwr ofnadwy, ofalu yn dda am dano ei hun mewn ymladdfa gyffredinol o ryw fath,

a chlirio lle gwâg lawer o'i ddeutu; ond yn awr yr oedd wedi ei gornelu, a dwsin yn curo arno â dyrnau, llestri, cadeiriau, ac unrhyw beth a ddeuai i law yn rhwydd. Y foment y gwelodd fi, gwaeddai, "Dyna fo, Sie, neidia i mewn; rho i mi chwareu teg." Gwaith garw ydoedd, ac aethum i mewn yn erwinol, gan wthio, tripio, a gwneud fy ngoreu er ei waredu. Gyda thrafferth annhraethol ac aml glais ar fy mhen a'm hysgwyddau, o'r diwedd cefais ef allan o'r ystafell. Yr oedd ef yn orwyllt gan ddiod a chreulonedd, ac ymdrechai yn galed yn fy erbyn am gael myned yn ol ac adnewyddu yr ymladdfa. Ond llwyddais i'w wthio i mewn i'w bedrolfen, neidio ar ei ol, a gyru ymaith.

Trwy ffawd ddrwg, yn uchder yr ymrysonfa, cafodd Bryce Litton godwm tra erchyll. Pa un ai y *whisky* a yfasai, ai rhyw hergwd damweiniol oddiwrthyf fi, oedd yr achos, nis gallaf ddweyd. Efe, pa fodd bynag, a'i priodolai i mi, a thrysorai i fyny ei ddialedd erbyn y cyfleusdra cyntaf a gaffai. Y cyfleusdra yn ebrwydd a ddaeth.

Yn mhen oddeutu wythnos ar ol hyny, anfonwyd fi gan fy meistr ychydig filldiroedd o ffordd gyda rhyw lythyrau. Cymerais droad byr ar hyd ffordd gul, a wahenid oddiwrth y brif-ffordd â llidiardau, ac a derfynid â *fence* o bob tu. Arweiniai y gul-ffordd hon drwy ran o'r fferm a berchenogid gan frawd fy meistr, ac yr oedd ei oruchwyliwr yn y cae cyfagos gyda thri o negroaid fel yr elwn heibio. Ar fy ngwaith yn dychwelyd yn mhen haner awr wedi hyny, eisteddai y goruchwyliwr ar y *fence*, ond nid oeddwn yn gweled dim o'r dynion duon. March-

ogais yn mlaen, yn hollol ddifeddwl am unrhyw drwbl; ond fel y dyneswn, neidiodd i lawr oddiar y *fence*, ac ar yr un foment neidiai dau o'r negroaid i'r golwg odditan y llwyni lle y cuddiasid hwynt, gan sefyll gydag ef yn union o fy mlaen, tra y neidiai y trydydd dros y *fence* yn union o'r tu ol i mi. Cauesid fi fel hyn rhwng pleidiau nas gallwn mwyach amheu nad rhai gelynol oeddynt. Ymaflodd y goruchwyliwr yn awenau fy anifail, gan erchi i mi ddisgyn yn yr iaith ddillyn arferol o eiddo dynion o'r fath pan yn annerch caethion. Gofynais i ba beth yr oeddwn i ddisgyn. "I gael y cystwyad goreu a gawsoch yn eich bywyd, y dyhiryn du." Ychwanegai lwon lawer, na adroddir genyf. "Ond am ba beth yr wyf i gael fy ffrewyllu, Mr. L.?" gofynais innau. "Dim gair," eb efe, "ond disgynwch ar unwaith, a thynwch ymaith eich siaced." Gwelwn nad oedd dim arall i'w wneud, ac ymlithrais oddiar y ceffyl yr ochr bellaf oddiwrtho ef. "Yn awr, tynwch ymaith eich crys," gwaeddai ef; ac fel y petruswn wneud hyn, codai ffon oedd ganddo yn ei law i'm taro, ond mor frysiog a ffyrnigwyllt, fel y dychrynodd y ceffyl, nes tori yn rhydd oddiwrtho a dianc adref. Heb foddion dianc fe'm gadewid fel hyn i ddal ymosodiadau pedwar o ddynion goreu y gallwn. Er gochel dyrnod Mr. L., yr oeddwn yn ddamweiniol wedi myned i'r gongl o'r *fence* na ellid dyfod attaf ond o'r tu blaen. Galwai y goruchwyliwr ar y negroaid i ymaflyd ynof; ond gan y gwyddent ryw beth am fy nerth corphorol, yr oeddynt yn gyndyn i ufuddhau. O'r diwedd gwnaethant eu goreu, ac fel y deuent i'm cyrhaedd, dyrnodiais hwy

i lawr yn olynol; a rhoddais i un o honynt, yr hwn a geisiai fy maglu pan oedd ar lawr, droediad â'm hesgid drom a gurodd ymaith amryw o'i ddannedd, ac a'i hanfonodd i ffordd dan udo.

Yn y cyfamser, curai Bryce Litton fy mhen â ffon nad oedd yn ddigon trom i'm taro i lawr, ond a dynai waed yn helaeth. Bloeddiai yr holl amser, "Oni ro'wch i fyny! oni ro'wch i fyny!" gan ychwanegu llw ar ol llw. Yn orlidiog oblegid fy amddiffyniad, ymaflodd yn sydyn mewn rheilen, gan ruthro attaf gyda chynddaredd. Disgynodd yr ergyd drom; codais i fyny fy mraich i'w thaflu ymaith, torodd yr asgwrn fel coes pibell, a chwympais ar fy mhen i'r llawr. Mynych ddisgynai ergydion eraill ar fy nghefn nes y torodd esgyrn fy ysgwyddau, ac y llifai y gwaed yn ddibrin o'm genau. Yn ofer y cyfryngai y negroaid. "Oni welsoch y *nigger* yn fy nharo i?" Wrth gwrs, rhaid oedd iddynt ddweyd "Do," er y gochelai y llwfryn celwyddog ddyfod i'm cyrhaedd law-law, gan ymladd yn unig â'i ffon. O'r diwedd, wedi i'w ddialedd gael ei foddio, ymattaliodd, gan ddweyd wrthyf am "gofio beth ydoedd taro dyn gwyn."

Yn y cyfamser, codwyd gwaedd yn y tŷ, drwy i'r ceffyl ddychwelyd yn ol heb ei farchogwr, a chychwynodd fy meistr allan gyda chwmni bychan er gwybod beth oedd yr helbul. Pan gyntaf y gwelodd fi, tyngai mewn soriant, "Chwi fuoch yn ymladd, y *nigger* dirmygus!" Dywedais wrtho mai Bryce Litton a'm curodd, am i mi, ebe efe, ei wthio y noswaith o'r blaen yn y dafarn yn adeg yr ymrysonfa. Ar ol gweled pa mor drwm yr oeddwn wedi cael fy

niweidio, daeth yn fwy gwallgof fyth; ac ar ol fy nghludo adref, esgynodd ar ei farch, ac aeth hyd y Llys-dŷ yn Montgomery i hwylio cyfraith arno. Ychydig ddaioni ddaeth o'r peth. Tyngai Litton ddarfod i mi ei sarhau, pan yn siarad âg ef ar y gul-ffordd, disgyn oddiar y ceffyl, ymosod arno, ac y buaswn wedi ei ladd oni bae cynorthwy y negroaid. Wrth reswm, ni chaniateid tystiolaeth negro yn erbyn dyn gwyn, a chafodd felly ei ryddhau. Gorfu ar fy meistr dalu holl gostau y llys; ac er iddo gael y boddhad o alw Litton yn gelwyddwr a dyhiryn, a rhoi iddo gurfa ofnadwy, etto gwneid i'r ad-daliad rhanol yma fod yn llai boddhaus drwy yr hyn a ddilynodd, sef oedd hyny, cynghaws am niweidiau, ac hefyd dirwy drom.

Yr oedd fy nyoddefiadau wedi y driniaeth greu-awn hon yn ddychrynllyd. Heblaw fy mraich dor-edig a'r archollion ar fy mhen, gallwn deimlo a chlywed esgyrn fy ysgwyddau yn rhygnu yn erbyn eu gilydd gyda phob anadliad. Ni alwyd ar physygwr na meddyg i drwsio fy archollion, ac ni wybum ddarfod i neb o'r fath gael ei alw ar eti-feddiaeth Riley ar unrhyw achlysur pa bynag. "Fe wellha *nigger* mewn rhyw ffordd," ydoedd egwyddor sefydlog o ffydd, ac ymddangosai fod ffeith-iau yn ei chyfiawnhau. Yr oedd yr iechyd naturiol cryf, a gynyrchid drwy fywyd o lafur yn yr awyr agored, yn gwneud i'n harchollion ymwellhau gyda chan lleied o ennynfa ag y gwna eiddo anifeiliaid y maes. Gweinyddid arnaf fi gan chwaer fy meistr, Miss Patty, fel y galwem hi, Esculapius y blanfa. Menyw gref, esgyrnog ydoedd, na chiliai rhag

unrhyw bwysigwaith, o dynu dannedd allan o'r safn, neu osod esgyrn yn eu lle. Gwelais hi yn myned i'r tŷ, ac yn cymeryd dryll i saethu bustach mileinig y ceisiai y negroaid yn ofer ei farwolaethu. Delltiodd fy mraich a rhwymodd fy nghefn cystal fyth ag y gwyddai. Och! nid ydoedd ond gwaith *cobbler* yn y diwedd. O'r dydd hwnw hyd y presenol, yr wyf wedi bod yn anabl i godi fy nwylaw can uched a fy mhen. Am bum' mis nis gallwn weithio dim, a phan, a'r waith gyntaf i mi geisio aredig, effeithiodd tarawiad cryf o eiddo y cwlltwr yn erbyn careg, er dryllio fy ysgwydd-balfesau eilwaith, a rhoddi i mi fwy o loes hyd yn nod nag ar y cyntaf. Ac felly y gorfu arnaf dreulio fy mywyd yn anafedig ac efryddiog. Galluogodd ymarferiad fi yn mhen amser i gyflawni llawer o'r fferm-orchwylion gyda chryn effeithioldeb; ond yr oedd ymweithiad rhydd, nerthol gewynau fy mraich wedi myned am byth.

Cedwais fy sefyllfa fel goruchwyliwr, ynghyda ffafr neillduol fy meistr, yr hwn a foddheid am yr arbedid rhoddi cyflog mawr i oruchwyliwr gwyn, yn gystal ag oherwydd y cnydau rhagorach yr oeddwn yn alluog i'w codi iddo. Nid wyf am wadu fy mod yn defnyddio ei eiddo yn fwy rhydd nag y gwnaethai ef ei hun, drwy roddi i'w bobl well ymborth; ond os twyllwn ef yn y ffordd hon mewn materion bychain, yr oedd hyny yn ddiddadl er ei les ef ei hun mewn rhai pwysicach; a rhoddwn gyfrif, gyda y gonestrwydd manylaf, am bob *dollar* a dderbyniwn wrth werthu yr eiddo a ymddiriedid i mi. Yn raddol, ymddiriedid gwerthiant pob peth a godid ar y fferm—y gwenith, y ceirch, y gwair, ffrwyth,

ymenyn, a pheth bynag arall a allasai fod—i mi, fel yr oedd yn eithaf amlwg y gallwn, a'm bod yn, gwerthu am well prisiau na neb arall a gawsai efe, ac yr oedd ef yn llwyr annghymwys i dalu sylw i'r busnes ei hun. Am lawer blwyddyn, yr oeddwn iddo yn wesyn pob gwaith (*factotum*), ac yn darparu iddo ei holl fodion ar gyfer ei holl amcanion, pa un bynag ai drwg ai da. Nid oedd genyf achos i feddwl yn uchel am ei nodweddiad moesol; ond fy nyledswydd oedd bod yn ffyddlon iddo yn y sefyllfa yn mha un y'm gosodasai; a gallaf hyf-fynegi ger bron Duw a dyn fy mod felly. Maddeuais iddo yr ergydion a'r niweidiau diachos a weinyddodd arnaf yn nyddiau mebyd ac ieuenctyd, ac yr oeddwn yn falch o'r ffafr a ddangosai yn awr i mi, ac o'r cymeriad a'r bri a enillaswn drwy ymdrechion bywiog a dyfalbarhaol.

---

## PENNOD VI.

### TAITH BWYSIG.

FY MHRIODAS.—PRIODAS FY MEISTR.—EI DDINYSTR.—YMGYMERYD AG ANTURIAETH FAWR. —TAITH HIR A LLWYDDIANUS.—DIGWYDDION HYD Y FFORDD.—YMDRECH CYDRHWNG TUEDDIAD A DYLEDSWYDD.—DYLEDSWYDD YN FUDDUGOLIAETHUS.

PAN oeddwn oddeutu dwy ar hugain oed, priodais eneth dra effeithiol, ac wedi ei haddysgu yn dda hefyd ac ystyried mai caethes ydoedd, yr hon a berthynai i deulu yn y gymydogaeth a ystyrid yn dduwiol a charedig. Cyfarfyddais hi gyntaf yn y cyfarfodydd crefyddol yr arferwn fyned iddynt. Hi a ymddug i mi ddeuddeg o blant, saith o ba rai ydynt etto yn fyw, ac yn addaw bod yn gysur i'm dyddiau diweddaf.

Am gryn dymor, fy ngwaith oedd arolygu gweithrediadau y fferm, a gwerthu y cynyrch yn marchnadoedd cymydogaethol Washington a Georgetown. Dichon y medd llawer o bobl barchus ydynt eto yn fyw ryw gôf am "Siah," neu "Sie," (fel yr arferent fy ngalw,) fel eu marchnad-ddyn; ond os annghofiasant hwy fi, yr wyf fi yn eu cofio hwy gyda boddhad gonest.

O'r diwedd priododd fy meistr, yn bump a deugain, ferch ieuanc ddeunaw oed, gan yr hon yr

oedd ychydig eiddo, a mwy o gynildeb. Ei dyfalwch oedd hynod, ac ni ychwanegodd ddim cysur at y sefydliad. Yr oedd ganddi frawd ieuengaf, Francis, i'r hwn yr appwyntiesid Riley yn warcheidwad, a'r hwn a arferai gwyno oblegid crintachrwydd y darpariadau a wneid ar gyfer y teulu; mynych y deuai attaf, gyda dagrau yn ei lygaid, i ddweyd wrthyf nas gallai gael digon i'w fwytta. Gwnaethum ef yn gyfaill i mi dros byth, drwy gydymdeimlo âg ef, a digoni ei archwaeth drwy ranu âg ef yr ymborth y gofalwn am ei ddarparu i'm teulu fy hun. Y mae yn fyw eto, ac, fel y deallwyf, yn un o'r dynion cyfoethocaf yn ninas Washington.

Wedi talm o amser, pa fodd bynag, daeth afradlonedd parhaus i fod yn drech na chynildeb teuluaidd. Syrthiodd fy meistr i anhawsdra, ac o anhawsdra i ymgyfreithio gyda brawd-yn-nghyfraith, yr hwn a'i cyhuddai o anonestrwydd yn nhrefniad yr eiddo yr oedd ef yn ymddiriedolwr iddo. Parhaodd y cynghaws o hono ei hun am ddigon o amser i achosi ei ddinystr.

Er mor arw a gormesol fuasai fy meistr, yr oeddwn yn gwir dosturio drosto yn ei gyfyngder presenol. Ar amserau, byddai yn ddychrynllyd o isel, brydiau eraill yn wallgof oherwydd diod a chreulonedd. Ddydd ar ol dydd y marchogai tua'r Llys-dŷ yn Montgomery yn nghylch ei helynt, a dyddiol hefyd yr elai ei amgylchiadau yn fwy anobeithiol. Deuai i'm caban i'm hysbysu pa fodd yr oedd pethau yn myned, ond treuliai yr amser yn benaf i bruddgwyno oblegid ei frawd-

yn-nghyfraith. Ceisiwn ei gysuro cystal ag y gallaswn. Yr oedd ganddo ymddiried yn fy ffyddlondeb a'm barn, a chyda dyddordeb yr elwn i mewn i'w anhawsderau, mewn rhan drwy falchder, ac mewn rhan hefyd drwy yr ysbryd cariadlawn, dwyfol hwnw y dysgasid fi i'w addoli yn yr Iesu. Yr oedd y creadur tlawd, meddw, ffyrnig, diddarbod, a chwynfanus, yn hollol analluog i reoli ei amgylchiadau.

Un noswaith yn mis Ionawr, yn mhell wedi i mi syrthio i gwsg, daeth i'm caban ac a'm deffrodd i fyny. Ymddangosai hyn yn ddyeithr, ond am enyd ni ddywedai ddim; eisteddai yn bruddglwyfus i ymgynhesu o flaen y tân. Yna dechreuodd ruddfan a gwasgu ei ddwylaw yn nghyd. "Afiach, Massa?" meddwn wrtho. Ni attebodd air, ond daliai atti i gwynfan. "Oni allaf eich helpu mewn rhyw ffordd Massa?" Yr oeddwn yn siarad yn dyner, canys yr oedd fy nghalon yn llawn o dosturi at ei ymddangosiad gresynus. O'r diwedd, casglai nerth, a llefai, "O! Sie, yr wyf wedi fy ninystrio, fy ninystrio, fy ninystrio!" "Pa fodd felly, Massa?" "Y maent wedi rhoddi barn yn fy erbyn, ac mewn llai na phythefnos bydd pob *nigger* sydd genyf wedi ei ddodi i fyny a'i werthu." Yna ymollyngodd i storm o felldithion yn erbyn ei frawd-yn-nghyfraith. Eisteddwn yn ddystaw a diallu i ddweyd gair. Llenwid fy nghalon â thosturi atto ef, â braw gan y rhagddisgwyliad o'm tynged ddyfodol fy hun a'm teulu. "Ac yn awr, Sie," eb efe, "nid oes ond un ffordd i mi allu cadw dim—gellwch chwi ei wneud; a wnewch chwi, a wnewch chwi?" Yn ei gyfyngder cyfododd, a thaflodd ei freichiau yn wirioneddol am danaf. Yr

oedd adfyd wedi gwastadhau pob rhyw wahaniaeth. "Os gallaf, Massa, mi a'i gwnaf. Beth ydyw?" Heb atteb dim, aeth yn mlaen, "A wnewch chwi, a wnewch chwi? Codais chwi, Sie, gwnaethum chwi yn oruchwyliwr; gwn i mi eich camdrin, Sie, ond nid oeddwn yn ei fwriadu." Etto osgoai rhag dweyd wrthyf beth oedd arno eisieu. "Gwnewch addaw ei wneud, fachgen." Ymddangosai yn benderfynol o gael fy addewid yn gyntaf, yn gwybod yn dda oddiwrthyf drwy brofiad blaenorol, nad arbedwn unrhyw drafferth i gwblhau yr hyn y cytunwn ar ei wneud. Yn cael fy neisyf fel hyn, gyda thaerineb a dagrau, gan y dyn y buaswn yn ei wasanaethu yn zelog am dros ddeng mlynedd ar hugain, a'r hwn yn awr a ymddangosai yn hollol ddibynol ar ei gaethwas; yn cael fy nirgymell hefyd gan yr ofn a gynyrchwyd yn fedrus ganddo, y byddai i'r sirydd atafaelu pob un a berthynai iddo, ac y byddai i'r oll gael eu gwahanu, neu, efallai, eu gwerthu i fyned i Georgia, neu Louisiana — mater o arswyd parhaus i gaethion y taleithiau mwyaf gogleddol—cydsyniais, ac addewais yn ffyddlawn i wneud yr oll a allwn i'w waredu rhag y dynged oedd yn hongian uwch ei ben.

O'r diwedd, y cynygiad a ddaeth. "Y mae arnaf eisieu i chwi redeg ymaith, Sie, at fy mrawd Amos yn Kentucky, a chymeryd yr holl weision gyda chwi." Ni buaswn wedi fy synu yn fwy pe gofynasid i mi fyned i'r lleuad. "Kentucky, Massa? Kentucky; nid wyf yn gwybod y ffordd!" "O, y mae yn hawdd ddigon i fachgen cyflym fel chwi fyned yno; rhoddaf daith-drwydded (*pass*) i chwi, a dywedaf bob peth fydd raid i chwi wneud." Yn

canfod fy mod yn petruso, ceisiai fy mrawychu drwy etto gyfeirio at y dychrynfeydd o gael fy ngwerthu a'm cymeryd i Georgia.

Am ddwy neu dair awr fe barhaodd i argymell yr anturiaeth, gan appelio at fy malchder, fy nghydymdeimlad, a'm hofnau; ac yn y diwedd, er mor frawychus yr ymddangosai, dywedais wrtho y gwnawn fy ngoreu. Yr oedd deunaw o negroaid, heblaw fy ngwraig, dau blentyn, a minnau, i gael ein trosglwyddo yn agos i fil o filldiroedd drwy wlad na wyddwn ddim am dani, ac yn nyfnder y gauaf, oblegid mis Chwefror, 1825, ydoedd. Bwriadai meistr fy nilyn yn mhen ychydig fisoedd, a sefydlu ei hun yn Kentucky.

Wedi i'm meddwl unwaith gael ei wneud i fyny, dechreuais yn egniol gyda y darpariadau angenrheidiol. Ychydig oeddynt a hawdd eu gwneud. Buan y gwneid yn barod bedrolfen un ceffyl, wedi ei hystorio yn dda â cheirch, blawd, cig moch, er cynaliaeth y ceffyl a ninnau. Cyfodid fy malchder yn yr olwg ar bwysigrwydd fy nghyfrifoldeb, a daethum yn bleidiol, galon ac enaid, i gynllun fy meistr i redeg ei negroaid ymaith. Yr ail noswaith wedi i'r ddyfais gael ei ffurfio, yr oeddym ar ein taith. Yn ffodus, er llwyddiant yr anturiaeth, buasai y bobl hyn am hir amser dan fy rheolaeth, a mawr oedd eu hymlyniad wrthyf mewn ad-daliad am y lluaws cymwynasau esmwythaol a weiniaswn i'w cyflwr gresynol, y cysuron y mynwn eu cael iddynt, a'r gofal amlygwn bob amser drostynt. Dan yr amgylchiadau hyn, ni chodai unrhyw anhawsdra o ddiffyg ymostyngiad i'm hawdurdod. Gan ofn cael

eu gwahanu, a'u gwerthu i waered i'r de, ped arosent ar yr hen etifeddiaeth, fe'u hunid fel un gwr, a chedwid hwynt yn amyneddus a bywiog.

Cychwynem o gartref oddeutu unarddeg y nôs, ac hyd ganol dydd dranoeth, ni wnaethom arosiad neillduol yn unman. Teithiai y dynion ar draed, rhoddid y plant yn y bedrolfen, ac elai fy ngwraig attynt yn awr ac yn y man. Yn mlaen yr aem drwy Alexandria, Culpepper, Fauquier, Harper's Ferry, Cumberland, dros y mynyddau ar y National Turnpike, hyd yn Wheeling. Yn yr holl dafarnau ar hyd y ffordd yr oedd lleoedd rheolaidd ar gyfer y gŷroedd negroaid y rhai yn feunyddiol a deithient drwy y wlad dan ofal goruchwylwyr. Yn y rhai hyn y lletyem, a'n llety a gyfansoddai ein hunig draul, oblegid cludem ein hymborth gyda ni. I'r rhai oll a ofynent gwestiynau, dangoswn daith-drwydded fy meistr, yn fy awdurdodi i arwain ei negroaid i Kentucky; a mynych y rhoddid i mi y molawd "*smart nigger,*" er boddhad nid ychydig i'm teimladau.

Yn y lleoedd yr arosem dros nôs, mynych y cyfarfyddem â *negro-drivers* gyda'u gŷroedd, y rhai bron yn ddieithriad a gedwid yn eu cadwynau rhag dianc o honynt. Mynych y gofynai y gyrwyr i mi, "*Niggers* pwy yw y rhai hyn?" Wedi cael gwybod, y gofyniad nesaf yn gyffredin fyddai, "Pa le y maent yn myned?" "I Kentucky." "Pwy sydd yn eu gyru?" "Wel, arnaf fi y mae eu gofal," meddwn innau. "Y fath *nigger* gwych!"—dyna yn gyffredin fyddai y sylw a wneid, gyda llw. "A wna eich meistr eich gwerthu? Deuwch i mewn,

ac aroswch gyda ni." Yn y ffordd hon, mynych y cymhellid fi i dreulio yr hwyr gyda hwy yn y lle yfed; tra y gorweddai eu negroaid yn y cyfamser o fewn y ffold yn eu cadwynau, a'r eiddof finnau ar wasgar oddeutu yn rhyddion.

Wedi cyrhaedd Wheeling, yn ol y cynllun a dynasai fy meistr, gwerthais y ceffyl a'r bedrolfen, a phrynais fâd mawr, a elwid *yawl* yn y parthau hyny. Yr oedd ein dull o deithio yn fwy hyfryd yn awr nag wrth ddamsang yn mlaen ddydd ar ol dydd yn ol y dognedd a gadwem i fyny byth er pan y gadawsem gartref. Ychydig iawn o lafur wrth y rhwyfau oedd yn angenrheidiol. Y llifeiriant a'n cludai yn mlaen yn sefydlog, ac yr oedd genym amser ddigon i gysgu ac adenill nerth.

Ymosodid arnaf gan drwbl newydd ac annisgwyliadwy yn awr. Wrth fyned yn mlaen gyda glan yr Ohio, dywedid wrthym drachefn a thrachefn gan bersonau a ymddyddanent â ni, nad oeddym mwy yn gaethion, ond yn bobl ryddion, os dewisem fod felly. Yn Cincinnati, yn arbenig, ymgasglai torfeydd o'r bobl dduon o'n deutu, gan wasgu arnom aros gyda hwy. Dywedent wrthym ein bod yn ffyliaid os meddyliem fyned yn mlaen a rhoddi ein hunain i fyny i berchenog newydd; y gallem yn awr fod yn feistri i ni ein hunain, a bod allan o gyrhaedd pob erlyniad. Gwelwn fod y bobl oeddynt danaf yn myned yn dra chyffrous. Dechreuai bwriadau rhanedig ac arwyddion o aflywodraeth yn awr ymddangos. Yr oeddwn fy hunan, hefyd, yn dechreu teimlo fy mhenderfyniad yn rhoddi ffordd. Buasai rhyddid bob amser yn wrthddrych fy uchel-

frydedd, er na feddyliaswn am ei gyrhaedd drwy unrhyw foddion amgen na phrynu fy hun. Erioed ni freuddwydiais am ddianc ymaith. Yr oedd genyf syniad o anrhydedd ar y mater. Clywswn ddyledswyddau y caethwas i'w feistr, fel un wedi ei appwyntio drosto yn yr Arglwydd, yn cael eu hargymell bob amser gan weinidogion a dynion crefyddol. Er mor ber-lesmeiriol oedd y meddylddrych fod y *coast* yn agored i ffoi am ryddid, y gallwn wared fy nghymdeithion rhag cadwynau, y gallwn gludo ymaith fy ngwraig a'm plant, a meddu tŷ a thir ryw ddiwrnod, ac heb fod mwy yn agored i ddirmyg a cham-driniaeth, etto yr oedd fy nhybiau o barthed uniondeb yn erbyn y cyfan. Addawswn wrth fy meistr gymeryd ei eiddo i Kentucky, a'i adael yn ngofal ei frawd Amos. Deuai balchder hefyd yn mlaen i'm cadarnhau yr un ffordd. Ymgymeraswn â pheth mawr; porthasid fy nheimlad o wâg-ogonedd ar hyd yr holl ffordd drwy glywed fy hun yn cael y fath ganmoliaeth; meddyliwn y byddai yn bluen yn fy nghap i gario y peth allan yn drwyadl, a mynych y buaswn yn paentio yr olygfa yn fy nychymyg pan fyddwn yn rhoddi i fyny fy ymddiriedaeth o'r diwedd i Meistr Amos, ynghyda'r edmygedd a'r parch tra mawr â pha un y byddai yn edrych arnaf.

Dan ddylanwad yr argraffiadau hyn, ac yn gweled fod hudoliaethau y lluaws yn cynyrchu effaith amlwg, con-weithredais fel y cadben, a gorchymynais fod i'r bâd gael ei wthio i ganol y llif. Dilynid fi gan gawod o felldithion oddiar y lan; ond y negroaid druain danaf, wedi arfer ufuddhau, ac, ysywaeth, yn rhy ddiraddiol ac anwybodus o fanteision rhyddid i

amgyffred beth yr oeddynt yn ei fforffetio, ni chynygient unrhyw wrthwynebiad i'm gorchymyn.

Mynych wedi y dydd hwnw y trywanwyd fy enaid gan ing chwerw, wrth gofio i mi yn y modd hwn fod yn offerynol i draddodi i gaethiwed uffernol caethwasiaeth gynifer o'm cyd-ddynion. Bum yn ymdrechu â Duw mewn gweddi am faddeuant. Wedi profi fy hun o felusder rhyddid, ac yn gwybod yn rhy dda am y trueni dilynol a ddaeth i ran nifer o'r caethion hyn, llawer gwaith y bu yr anmhwylledd hwn o'r eiddof yn ymddangos, fel pe mai y pechod anfaddeuol fuasai. Ond yr wyf yn cysuro fy hun â'r meddwl fy mod yn gweithredu yn ol fy ngoleuni goreu, er fod y goleuni oedd ynof yn dywyllwch. Dyddiau fy anwybodaeth oedd y rhai hyny. Ni adwaenwn ogoniant dynoliaeth rydd y pryd hwnw, neu fod hawl-weithred y caeth-feddianydd yn lladrad ac yn drais.

Y fath fanteision yn bersonol y dichon fy mod wedi eu colli drwy daflu ymaith yn y modd hwn gyfleusdra i gyrhaedd rhyddid! Ond y mae yr amgyffrediad o'm nerth a'm cymeriad fy hun, y teimlad o uniondeb a'r syniad o anrhydedd uchel a enillais fel hyn drwy ufudd-dod i'r hyn a farnwn yn iawn, yn fanteision a werthfawrogir genyf. Efe, yr hwn a fydd yn ffyddlon ar ychydig, a fydd yn ffyddlon ar lawer. Ger bron Duw; ceisiais wneud fy ngoreu, a rhaid gosod y gam-farn i orwedd wrth ddrws y trefniant diraddiol o dan yr hwn y dygwyd fi i fyny.

## PENNOD VII.

### CARTREF NEWYDD.

YN DYFOD YN BREGETHWR TREFNYDDOL.—GWERTHU FY NGHYMDEITHION TRUAIN.—FY NHRALLOD.—GYRU AM DANAF EILWAITH.—YMGYFARFOD A PHREGETHWR TREFNYDDOL TIRION.—YN YMWELED A DAEAR RYDD, AC YN DECHREU FY YMDRECH AM RYDDID.

CYRHAEDDAIS Swydd Davis, Kentucky, o gylch canol Ebrill, 1825, pryd y rhoddais fy hun a'm cymdeithion i fyny i Mr. Amos Riley, brawd fy mherchenog, gan yr hwn yr oedd planfa fawr gydag o bedwar ugain i gant o negroaid. Ei dŷ a safai oddeutu pum' milldir i'r de o'r afon Ohio, a phymtheg milldir oddiar yr Yellow Banks, ar Big Blackford's Creek. Yno yr arosais dair blynedd, gan lafurio yn y cyfamser ar y fferm, yr hon a ddaeth dan fy rheolaeth gyffredinol, mewn canlyniad i'r gymeradwyaeth ar gyfrif medr a gonestrwydd a ddygwn gyda mi o Maryland. Mewn llawer golygiad, yr oedd y sefyllfa yn fwy cysurus na'r un a adewais. Yr oedd y fferm yn fwy a ffrwythlonach, ac yr oedd yno helaethrwydd mwy o ymborth, yr hyn beth, wrth gwrs, sydd un o brif ffynonellau cysur caethwas, yn attaliedig fel y mae oddiwrth gynifer o fwynderau ag ydynt gyrhaeddadwy i ddynion eraill. Peth pwysig yn mhob cyfrifiad o

fywyd yw digonedd o ymborth; y mae ddengwaith yn fwy felly yn marn caethwas, archwaeth yr hwn bob amser a symbylir gan ei lafur caled, tra na bydd ei feddwl yn aros ond ychydig gyda materion o ddyfnach dyddordeb. Rhoddai fy swydd o arolygydd i mi rai manteision nas gallwn lai na gwneud defnydd o honynt, yn enwedig gyda golwg ar y rhagorfreintiau crefyddol hyny, y rhai, byth oddiar pan y clywais gyntaf am Grist a Christionogaeth, a aent â'm meddylfryd yn helaeth. Yn Kentucky yr oedd y cyfleusderau i glywed dynion gwynion a duon yn pregethu yn fwy lluosog; ac yn rhanol drwy eu dilyn hwy, a'r *camp-meetings* a gymerent le o bryd i bryd, ac mewn rhan hefyd drwy ddyfal astudio fy nghalon fy hun, a sylwi ar y dadblygiadau o gymeriad o'm deutu yn yr holl sefyllfaoedd o fywyd y gallwn eu gwylio, daethum i fod yn fwy cydnabyddus â'r teimladau crefyddol hyny y rhai ydynt wedi eu planu yn ddwfn yn mynwes pob bod dynol, gan ddysgu drwy ymarferiad pa fodd oreu i'w deffroi, a'u cadw mewn bywiogrwydd, pa fodd i gyffroi y dideimlad a'r diofal, ac yn gyffredinol, i gynyrchu rhyw argraffiadau da ar y bobl anwybodus a difeddwl gan y rhai y'm cylchynid.

Nid yw swm mawr o wybodaeth dduwinyddol yn angenrheidiol i'r amcan. Pe buasai, eglur ddigon yw nad allasai pregethu byth ddod yn alwedigaeth i mi. Ond y mae yn ddyogel genyf, a llefaru o helaethrwydd calon yn ymdeimlo â'i halogrwydd a'i hanmherffeithiau ei hun, ac â thrugaredd Duw yn Nghrist Iesu, na bu fy ngweinyddiadau gostyngedig yn hollol ddifudd i'r rhai a gawsent lai o gyfleusdra

na mi fy hun i fyfyrio ar y materion holl-bwysig hyn. Nis gallaswn yn sicr ymattal oddiwrth ymdrechu gwneud yr hyn a welwn eraill yn wneud yn yr un maes; ac ar unwaith, gwnaethum fy ngoreu i wella fy hun a'r rhai o'm deutu er sicrhau y cnydau hyny a aeddfedant yn unig yn nhragwyddoldeb. Nis gallaf lai na derbyn rhyw foddhad, hefyd, oddiwrth y profion a gefais ddarfod i'm hymdrechion fod yn fendithiol i'r rhai a'u mwynhaent. Mewn ysbaid tair blynedd, o 1825 i 1828, defnyddiwn bob cyfleusderau a gawn at hunan-ddiwylliant, a derbyniwyd fi fel pregethwr, gan Gynadledd yr Eglwys Drefnyddol Esgobaidd (*Methodist Episcopal Church*).

Yn ngwanwyn y flwyddyn 1828, cyrhaeddai newyddion oddiwrth fy meistr nas gallai gael gan ei wraig ddyfod gydag ef i Kentucky, a bod yn rhaid iddo gan hyny aros lle yr oedd. Anfonodd allan oruchwyliwr i werthu ei gaethion oll, oddieithr fi a'm teulu, a dwyn y cynyrch yn ol gydag ef. Ac yn awr, yr oedd un o'r golygfeydd torcalonus hyny i gymeryd lle a gawsai y fath argraff ddofn ar fy meddwl plentynaidd. Yr oedd gwyr a gwragedd, rhieni a phlant, i gael eu hysgaru am byth. Yr oedd serchiadau ag ydynt mor gryfion yn yr Affricaniad ag ydyw yn yr Ewropiad i gael eu diystyru yn greulawn; a'r hunanoldeb haiarnaidd a genhedlir gan y "sefydliad" câs i gael ei arddangos yn ei hagrwch mwyaf gwrthun a noeth. Rhyddheid fi oddiwrth fod yn bersonol gyfranog yn y trallod ofnadwy; ond nis gallwn weled ing fy nghymdeithion ond gyda'r gofid dyfnaf. Tebyg oedd i'r hyn a ddangosai fy mam fy hun unwaith,

pan yr ysgerid fi am amser oddiwrthi. Nis gallwn ymgadw rhag teimlo y casineb chwerwaf at y trefniant, a'r rhai a'i cynalient. Beth arall yn wir allasai fod teimlad caethwas, yn agored bob moment o'i fywyd i'r blinderau dychrynllyd ac afreidiol hyn, y rhai y gellid eu hachosi gan fympwy neu angenrheidiau tybiedig y caeth-feistri, ac i fod yn weinyddedig arno, heb gydymdeimlad nac iawn-dâl, dan nodded y cyfreithiau a gadwent i fyny y sefydliad?

Fel y taflwn olwg dros yr olygfa hon, ac y gwrandawn ar ruddfanau a llefau fy nghymdeithion trallodedig, agorwyd fy llygaid, ac yr oeddwn yn dwysofidio am i mi eu hattal rhag gwneud defnydd o'r cyfleusdra i gyrhaedd rhyddid a gynygiai ei hun yn Cincinnati. Nid oeddwn wedi meddwl ond yn unig am fod yn ffyddlawn i'm meistr, a dim am hawddfyd y caethion. O! beth na roiswn am gael y cyfle i'm cyrhaedd unwaith yn rhagor! Ond yn awr, o'm plegid i, diofrydid hwynt i dreulio ymaith eu bywyd mewn trueni, yn hinsawdd boeth a heintus y deau pell. Buasai angau yn groesawedig i mi gan faint fy ing. O'r awr hono, gwelais drwy, caseais, a melldithiais holl drefniant caethwasiaeth. Un bwriad angerddol a lanwai fy enaid—enill rhyddid, hunan-lywodraethiad, a gwaredigaeth o gyrhaedd mympwyon creulawn, a ffawd-amgylchiadau gormesiaid afradlawn. Y modd i fyned ymaith rywbryd, gyda'm gwraig a'm plant, i ryw le y gallwn deimlo ynddo eu bod mewn gwirionedd yn *eiddof fi*—lle na allai un meistr trahaus sefyll rhyngof â hwynt fel penderfynydd eu tynged—dyna nefoedd i ymawyddu am dani gyda hiraeth anniwalladwy. Er

mwyn hyn, safwn yn barod i weddio, llafurio, ffugio, cynllwyn fel llwynog, ac ymladd fel teigr. Deffroid a chynhyrfid holl reddfau godidog fy enaid, a holl nwydau ffyrnig fy natur anifeilaidd, i fywiogrwydd grymus drwy hyn.

Amcan fy hen feistr Riley wrth gyfarwyddo fod i mi a'm teulu gael ein cadw o'r arwerthiant oedd dymuniad ar ei ran ef i'm cael yn ol i Maryland, ac i fod yn ei wasanaeth ef fel o'r blaen. Dygasid ei ffermydd goreu oddiarno, ac nid oedd ond darnau bychain salw o dir yn aros, y rhai a driniai gyda llafur cyflogedig ar ol i mi gymeryd ymaith ei gaethion, ac felly, fis ar ol mis, deuai yn dylotach a mwy diobaith. Ysgrifenasai at ei frawd Amos am roddi *pass* i mi, a'm gadael i deithio yn ol; ond yr oedd ei frawd yn gyndyn i wneud hyn, am yr arbedwn iddo y draul o gadw goruchwyliwr, a gwyddai yn mhellach na ellid cael moddion cyfreithiol i'w orfodi i gydsynio. Gwyddwn hyn oll, ond nis meiddiwn ddangos awydd i ddychwelyd, rhag ofn cyffroi amheuaeth.

Yn ystod haf 1828, ymwelodd pregethwr Trefnyddol, dyn gwyn o'r fath oreu, â'n cymydogaeth, a daethum yn gydnabyddus âg ef. Buan y daeth i deimlo dyddordeb ynof; ymwelai â mi yn fynych, ac un diwrnod siaradai wrthyf mewn dull cyfrinachol yn nghylch fy sefyllfa. Dywedai, "Chwi ddylech fod yn rhydd. Y mae genych ormod o fedr i gael eich rhwymo o fewn cylch cyfyng a chymharol ddiwerth caethwas ac er nad yw i fod yn wybyddus fy mod wedi siarad â chwi ar y mater, etto, os ceisiwch gydsyniad Mr. Amos i fyned a gweled eich

hen feistr yn Maryland, ymdrechaf eich rhoddi mewn ffordd y gellwch lwyddo, yr wyf yn meddwl, i brynu eich hun." Dywedodd hyn wrthyf fwy nag unwaith; ac fel yr oedd mewn cydgordiad â'm holl dueddiadau ymgyrhaeddol, yn wenieithol i'm hunan-barch, ac yn boddhau fy ngorawydd i ddwyn pethau i derfyniad buan, penderfynais yn awr wneud ym-gais er cael y caniatad angenrheidiol. Yr oedd gwaith y cynhauaf drosodd, nid oedd fy eisieu mwyach yn y meusydd, ac ni ddeuai cyfle gwell byth i'r golwg. Etto, ofnwn wneud y cais. Yr oedd cymaint yn dibynu arno, y fath obeithion hoff yn rhwymedig gydag ef, fel y crynwn wrth feddwl am y canlyniad.

Agorais y pwnc un boreu Sabbath tra yn eillio Mr. Amos, a thrwy ddyfod â'r *brush* eillio at fin ei enau bob tro y cynygiai fy attal, yr oeddwn yn llwyddo yn ddeheuig i gael "ymadroddiad da" yn gyntaf. Wrth reswm, ni wnaethum unrhyw gyfeir-iad at fy nghynllun o brynu fy hun, ond gwasgwn fy neisyfiad yn unig ar sail dymuniad i weled fy hen feistr. Er fy syndod, ychydig wrthwynebiad a ddangosai. Buaswn yn ffyddlawn iddo, ac enillais, yn ei ddull difoes ef o'i ddangos, ei barchedigaeth. Yn mhell cyn y gwanwyn, byddwn yn ol eilwaith. Aeth mor bell a dweyd ddarfod i mi enill y fath fraint.

Yr oedd y drwydded a roddai yn caniatau i mi fyned yn ol ac yn mlaen rhwng Kentucky a Mary-land, fel gwas i Amos Riley. Wedi cael hwn, yn nghyda llythyr cymeradwyaeth oddiwrth fy nghyfaill Trefnyddol at frawd o bregethwr yn Cincinnati, ·wynais oddeutu canol Medi, 1828, am y dwyrain.

Gwawriodd cyfnod newydd yn fy hanes yn bresenol. Effeithiodd llythyr a gludwn gyda mi at ddyn calon-dyner yn Cincinnati er sicrhau i mi nifer o gyfeillion gwerthfawr, y rhai a aent i mewn, enaid a chalon, i'm cynlluniau. Mynasant gyfle i mi bregethu mewn dau neu dri o bwlpudau yn y ddinas, a gwnaethum fy appeliad gyda'r fath hyawdledd ag a dŷr allan yn naturiol o fynwes wedi ei bywhau a'i thanio gan gynllun mawreddog. Drwy ddyfod i gyfarfyddiad â rhai ag oeddynt yn rhyddion eu hunain, a thrwy uchel-ystyriaeth o orfoledd wrth gymeryd fy nhynged i'm dwylaw fy hun, fe roddid i mi gysegredig "ddawn tafodau." Dadleuwn ar fater bywyd a marwolaeth, nefoedd ac uffern, a'r rhai a'm clywent a deimlent hyn yn eu calonau. Yn mhen tri neu bedwar diwrnod gadewais y ddinas heb lai swm na chant a thriugain o ddoleri yn fy llogellau, a chydag enaid gorfoleddus gan ddiolchgarwch, ac mewn uchel obaith, cyfeiriais fy nghamrau tua Chillicothe, i fod yn bresenol yn eisteddfa Cynnadledd Ohio, perthynol i'r Eglwys Esgobaidd Drefnyddol. Elai fy nghyfaill caredig gyda mi, a thrwy ei ddylanwad a'i ymdrechion ef, daeth llwyddiant pellach etto i'm rhan.

Trwy ei gyngor ef, prynais ar unwaith bâr gweddaidd o ddillad, a cheffyl rhagorol, a theithiais o dref i dref, gan bregethu fel yr elwn. Yn mhob man, dangosid i mi garedigrwydd. Boddheid fi i'r eithaf, gan y cyferbyniad rhwng y parch a dderbyniwn a'r gamdriniaeth arferol ar y planfeydd, fel y rhaid ei fod i bob un y mae ganddo o'i fewn un wreichionen o urddas personol fel dyn. Yr oedd y mwynhad

peraidd o gydymdeimlad, gyda hyny, a'r cyfarchiad calonog, "Duw yn rhwydd i chwi, frawd," a ddeuai gyda phob *dollar* a dderbyniwn, i'm calon hirnewynllyd yn wledd nefol, yn fara angelion. Rhyddid ydoedd obaith gogoneddus yn fy meddwl; nid er mwyn dianc oddiwrth lafur, canys llawenychwn mewn llafur pan fyddai fy nghalon ynddo, ond fel y fynedfa i fwynhau teimlad o hunan-barch, i orchwylion derchafedig, ac i gymdeithasiad â meddyliau uwchraddol. Etto, er mor anwyl y meddwl am ryddid, parhawn i lynu wrth fy mhenderfyniad i'w enill mewn un ffordd yn unig—drwy bryniad. Nid oedd cwpan fy nhrallod etto yn ddigon llawn i'm harwain i ddiystyru pob telerau gyda fy meistr.

## PENNOD VIII.

### DYCHWELYD I MARYLAND.

DERBYNIAD GAN FY HEN FEISTR.—CAETHWAS ETTO.—APPELIAD AT HEN GYFAILL.—PRYNU FY RHYDDID.—CAEL FY NHWYLLO A'M BRADYCHU.—YN OL I KENTUCKY, YN GAETHWAS ETTO.

CYN i mi adael Ohio, a throi fy wyneb tua Swydd Montgomery, yr oeddwn yn perchenogi dau gant a phymtheg a thriugain o ddoleri, heblaw fy ngheffyl a'm dillad. Yn falch o'm llwyddiant, yr oeddwn yn mwynhau y meddwl o ddangos fy hun unwaith yn rhagor yn y lle yr adwaenid fi yn unig fel "pen-*nigger* Riley;" ac nid gyda boddhad bychan y marchogwn i fyny at yr hen dŷ oddeutu y Nadolig.

Rhoddai fy meistr i mi dderbyniad trystfawr, ac amlygai foddhad mawr wrth fy ngwéled. "Beth fuoch yn wneud, Sie? yr ydych wedi troi i fod yn foneddwr du trwyadl." Yr oedd fy ngheffyl a'm gwisg yn ei ddyrysu yn dost, a buan y gwelwn eu bod yn ei boeni hefyd. Yr oedd y dillad a wisgwn mewn gwirionedd yn well na'r eiddo ef. Yn fuan iawn, yr oedd ymweithiadau y casineb trahaus hwnw, â pha un yr edrycha dynion geirwon a bwystfilaidd, y rhai ni feddant uwchafiaeth mewnol, bob amser ar yr arwydd lleiaf o gydraddoldeb yn y rhai sy'ddibynol arnynt, yn weladwy yn ei agweddiad. Ymddangosai

ei wyneb fel yn dweyd, "Cymeraf y boneddwr allan o honoch yn bur fuan." Rhoddais iddo hanes fy mhregethu, pa un oedd gyson â'r gwirionedd, a'r esboniad am fy ymddangosiad, ond heb fynegi iddo fy mhrif fwriad. Gofynai yn fuan am weled fy nhaith-drwydded, a phan welodd ei fod yn fy awdurdodi i ddychwelyd i Kentucky, fe'i cyflwynodd i'w wraig, gan ddymuno arni ei ddodi yn ei ddesg. Yr oedd yr ystryw yn oeraidd a chyffrous. Clywais yr hen garchar-borth yn trystio a'r follt yn saethu i'w mortais unwaith yn rhagor. Ond ni ddywedais ddim, a phenderfynwn innau gyfrwys-weithio hefyd.

Wedi rhoi fy ngheffyl yn yr ystabl, aethum i'r gegin, lle y dywedai fy meistr fy mod i gysgu dros y nôs. O! mor wahanol i'm lletyau yn y Rhydd Daleithiau, am y tri mis blaenorol, oedd yr ystafell orlawn hono, gyda'i llawr pridd, ei budreddi a'i drygsawr. Edrychais o'm hamgylch gyda theimlad o ffieidd-dod. Yr oedd y negroaid oeddynt yno yn ddieithriaid i mi. Cefais fod fy mam wedi marw yn fy absenoldeb, ac yr oedd pob rhwymyn a'm cysylltai i â'r lle wedi ei dori. Yn llawn o fyfyrdodau pruddaidd oherwydd fy unigedd, a'r wedd dlodaidd oedd ar yr holl fferm, eisteddais i lawr, a thra yr oedd fy nghymdeithion yn chwyrnu mewn anwybodolrwydd cedwais i yn effro, gan feddwl pa fodd y gallwn ddianc o'r llanerch felldigedig. Ni wyddwn ond am un cyfaill y gallwn appelio atto—"Master Frank," brawd i wraig Riley. Yr oedd yn awr o oedran, ac wedi ymsefydlu mewn busnes yn Washington. Meddyliais y cymerai ddyddordeb ynof, canys yr oeddwn wedi gwneud llawer i ysgafnhau

ei ofidion pan oedd yn fachgen a gam-drin yn sarugid yn y tŷ. Atto ef y penderfynais fyned, ac mor fuan ag y meddyliais ei bod yn amser cychwyn, cyfrwyais fy ngheffyl a marchogais i fyny at y tŷ. Yr oedd yn gynar yn y boreu, a'm meistr eisoes wedi myned i'r tafarndy ar ei neges arferol, pryd y daeth Mrs. Riley allan i edrych ar fy ngheffyl a'm treciau. "Lle yr ydych chwi yn myned, 'Siah'?" oedd y cwestiwn naturiol. Attebais, "Yr wyf yn myned i Washington, meistres, i weled Mr. Frank, a rhaid i mi gael y *pass* i fyned gyda mi, os gwelwch yn dda." "O, mae pawb yn eich adnabod yma; ni bydd arnoch eisieu eich *pass*." "Ond nis gallaf fyned i Washington hebddo. Gallaf gyfarfod â rhyw ddieithr-ddyn sarug, yr hwn a'm hettyb ac a'm poena, os nad all wneud dim a fyddo yn waeth." "Wel, mi a'i hestynaf i chwi," attebai hithau, a llawen oeddwn ei gweled yn dychwelyd ac yntau yn ei llaw, ac yn ei estyn i mi, tra na feddyliai nemawr am ei bwysigrwydd i'm cynllun.

Yr oedd fy nerbyniad gan Master Frank yn bob peth a ddisgwyliwn, mor garedig a chalonog ag oedd ddichonadwy. Ymfoddhai yn yr olwg arnaf, a dywedais wrtho ar unwaith fy holl gynlluniau a'm gobeithion. Elai i mewn yn wresog iddynt, a mynegai gydymdeimlad cryf tuag attaf. Cefais ei fod yn llwyr gashau Riley, yr hwn a gyhuddid ganddo o'i dwyllo ef am gyfran helaeth o'i eiddo, a fuasai dan ei ofal fel *guardian*, er, gan nad oedd mewn ymrysonfa âg ef, y gwnelai gydsynio yn rhwydd i gyflafareddu am fy rhyddid, a'i ddwyn i'r telerau mwyaf ffafriol. Yn ganlynol, yn mhen ychydig

ddyddiau marchogodd drosodd at y tŷ, a chafodd gyd-ymddyddan hir âg ef ar bwnc fy rhyddhad. Amlygodd iddo y ffeithiau fod genyf swm o arian, ynghyda'm *pass*, a chymhellai arno ystyried fy mod yn un pert, â'm bryd ar gael fy rhyddid, ac wedi gwasanaethu y teulu yn ffyddlawn am lawer o flynyddoedd; fy mod wedi talu am danaf fy hun mewn gwirionedd ganwaith yn y swm ychwanegol o gynyrch a godaswn drwy fy medr a'm dylanwad; ac os na ofalai, gan dderbyn cynnyg teg pan ei gwnawn iddo, y caffai allan ryw ddydd, fod genyf y moddion i wneud heb ei help, ac na welai fi na'r arian chwaith; fy mod gyda'm ceffyl a'm *pass* yn lled annibynol arno yn barod, ac mai gwell oedd iddo wneud ei feddwl i fyny i wneud yr hyn oedd mewn gwirionedd yn anocheladwy, a chyda golwg dda. Drwy resymau o'r fath hyn y llwyddodd Mr. Frank nid yn unig i'w gymhell i feddwl am y peth, ond cyn hir i'w ddwyn i gytundeb gweithredol, drwy yr hyn y cytunodd i roddi i mi fy mhapurau rhyddhad am bedwar cant a deg a deugain a ddoleri, o'r rhai yr oedd tri chant a deg a deugain o ddoleri i fod yn arian, a'r gweddill mewn papur-nodau. Galluogai y swm oedd genyf, ynghyda'r ceffyl, fi i dalu yr arian ar unwaith, ac yn y modd hwn ymddangosai fy ngobaith mawr mewn ffordd dda o gael ei sylweddoli.

Treuliwyd peth amser gyda threfniad yr achos hwn, ac ni dderbyniais fy mhapurau gollyngdod yn ol trefn y gyfraith hyd y 9fed o Fawrth, 1829. Hwyliais i gychwyn ar unwaith i'm hynt ddychweliadol i Kentucky; ac ar y 10fed, fel yr oeddwn

yn ymbarotoi i fyned ymaith yn y boreu, cyfarchodd fy meistr fi yn y dull mwyaf cyfeillgar, a dechreuodd ymddyddan â mi yn nghylch fy nghynlluniau. Gofynai i mi beth oeddwn yn myned i wneud â'm hysgrifen-dyst o ryddhad; pa un a oeddwn am ei dangos, os holid fi ar y ffordd. Dywedais wrtho, "Gwnaf." "Chwi fyddwch yn ffwl," ebe yntau, "os gwnewch. Gafaela rhyw gaethfasnachydd ynddo, gan ei rwygo, a theflir chwithau i garchar; gwerthir chwi am eich *jail-fees*, a byddwch yn eiddo iddo cyn i neb o'ch cyfeillion allu eich helpu. Na ddangoswch ef o gwbl. Mae eich *pass* yn ddigon. Gadewch i mi amgau eich papurau i chwi dan orchudd (*cover*) i fy mrawd. Ni feiddia neb dori sêl, oblegid y mae hyny yn fater talaeth-garchariad; a phan gyrhaeddoch Kentucky, chwi a'i cewch gyda chwi oll yn ddyogel a chyfan."

Am y cyngor cyfeillgar hwn, fel y meddyliwn, yr oeddwn yn teimlo yn ddiolchgar iawn. Yn ddyogel yn fy hapusrwydd, ni choleddwn ddrwg-amheuon am eraill. Yn ganlynol, caniateais iddo amgau fy mhapurau gwerthfawr mewn *envelope* cyfansoddedig o amryw *wrappers*, ac wedi iddo ei selio â thair sêl, a'i gyfarwyddo i'w frawd yn Swydd Davis, Kentucky, fe'i rhoddodd i mi, a minnau a'i dodais yn ofalus yn y *carpet-bag* oedd genyf. Ymadewais yn uniongyrchol am Wheeling, i'r hwn le yr oedd yn rhaid i mi deithio ar draed; yno cymerais fâd, ac mewn amser cyfaddas cyrhaeddais le fy arfaethiad. Daliwyd fi drachefn a thrachefn ar y ffordd; ond drwy hawlio cael fy nwyn ger bron ynad yn mhob amgylchiad, llwyddais i ddianc rhag pob atalfeuon

difrifol drwy offerynoliaeth y *pass* oedd genyf, pa un oedd yn gwbl reolaidd, ac na ellid ei droi o'r neilldu drwy unrhyw awdurdod osodedig.

Y bâd a'm dygai i waered o Louisville a'm glaniai pan oedd oddeutu tywyllu, a'm rhodfa o bum' milldir a'm dug i'r blanfa erbyn amser myned i wely. Aethum yn uniongyrchol i'm caban fy hun, a chefais fy ngwraig a'r rhai bychain yn iach. Wrth gwrs, yr oedd genym ddigon i'w ddweyd wrth ein gilydd. Buan y cefais fod genyf rywbeth i'w ddysgu yn gystal a'i ddweyd. Cyrhaeddasai llythyrau y "tŷ mawr"—fel y gelwid eiddo y meistr bob amser—yn mhell cyn i mi gyrhaedd yno, yn dweyd wrthynt beth fuaswn yn wneud. Yr oedd plant y teulu mewn modd chwannog wedi bod yn trosglwyddo y newyddion da i'm gwraig fel y buaswn yn pregethu, yn codi arian, ac yn bargeinio am fy rhyddid. Cyn hir, dechreuodd Charlotte fy holi, gyda llawer o fywiogrwydd, pa fodd y codasid yr arian genyf. Hi feddyliai yn sicr mai eu lladrata a wnaethum. Nid oedd ei barn am fy ngalluoedd fel pregethwr yn ddigon uchel i ganiatau iddi gredu fy mod wedi eu henill fel y gwnaethum. Llwyddais, pa fodd bynag, i dawelu ei hofnau ar y pen hwn. "Ond pa fodd y codwch ddigon i dalu y gweddill o'r mil doleri?" "Pa fil doleri?" "Y mil doleri ydych i'w rhoi am eich rhyddid." O! fel y tarawodd y geiriau hyny fi! Ar unwaith ofnais fod bradwriaeth. Drachefn a thrachefn yr holais hi yn nghylch yr hyn a glywsai. Parhâi i ail-adrodd yr un hanes a sylwedd llythyrau fy meistr. Dywedasai Meistr Amos fy mod wedi talu i lawr dri chant a deg

a deugain o ddoleri, a phan y gwnawn chwe' chant a deg a deugain yn rhagor, yr oeddwn i gael papurau fy rhyddhad. Dechreuwn yn awr weled y tric a chwareuwyd â mi, ac i weled yr ystryw drwy ba un y llwyddasai Riley i gadw y prawf o'm rhyddid oddiwrth lygaid pawb oddieithr ei frawd Amos, yr hwn a erfynid i'w cadw hyd nes y talwn y gweddill y dywedid ddarfod i mi gytuno i'w talu. Gair gwan yw soriant i amlygu fy nheimlad dwfn yn erbyn y fath daeogrwydd. Yr oeddwn weithiau o'm pwyll gan ddigllonedd, ac weithiau hefyd wedi fy mharlysu gan anobaith. Yr oedd fy mreuddwyd am ddedwyddwch drosodd. Beth allwn wneud i osod fy hun yn iawn etto? Yr oedd yr unig dyst o'r gwirionedd, Master Frank, fil o filldiroedd oddiwrthyf. Nis gallwn ysgrifenu atto, na chael gan neb arall ysgrifenu. Yr oedd pob dyn o'm deutu a allai ysgrifenu yn gaethfeistr. Nis meiddiwn fyned â'm papurau o flaen ynad, rhag ofn i mi gael fy nal a'm gwerthu i lawr yr afon cyn y gellid gwneud dim. Teimlwn fod llaw pob dyn gwyn yn fy erbyn. "Fy Nuw! fy Nuw! paham y'm gadewaist?"—dyna oedd fy nghri chwerw. Un peth yn unig a ymddangosai yn glir. Rhaid peidio byth a rhoddi fyny fy mhapurau i Meistr Amos. Dywedais wrth fy ngwraig na welswn hwynt er pan adawswn Louisville. Gallent fod yn fy *mag*, neu gallent fod wedi colli. Er dim nid oeddwn yn dewis edrych fy hun. Os caffai hi hwynt yno, a'u cuddio o'r golwg, heb yn wybod i mi—dyna y peth goreu i'w wneud o honynt.

Boreu dranoeth, ar ganiad y corn, aethum allan i

weled Meistr Amos. Cefais ef yn eistedd ar gamfa, ac fel y deuwn yn ddigon agos atto i'm hadnabod, bloeddiai allan groesawiad calonog yn ei ddull arferol. "Beth, *halloa,* Sie! ai chwi sydd yna? Wedi dod yn ol, ai ê! Da genyf eich gweled! Yn wir, yn wir yr ydych yn foneddwr du trwyadl!" Arolygai fy ngwisg gyda gwên gymeradwyol. "Wel, fachgen, sut y mae eich meistr? Dywed Isaac fod arnoch eisieu bod yn rhydd. Eisieu bod yn rhydd, ai ê! Yr wyf yn meddwl fod eich meistr yn eich trin yn lled galed, yr un pryd. Nid yw chwe' chant a haner o ddoleri yn dyfod mor rwydd yn Kentuck. Pa fodd byth y mae ef yn disgwyl i chwi godi cymaint a hyny? Mae 'n ormod, fachgen; mae 'n ormod." Yn yr ymddyddan a ddilynai, cefais fod fy ngwraig yn ei lle. Nid oedd gan Riley un meddwl am fy ngollwng i ffordd, a thybiai nas gallwn byth godi y chwe' chant a haner doleri os byddai i'w frawd gael meddiant o honof.

Buan y gofynai Meistr Amos onid oedd genyf bapur iddo. Dywedais i un fod genyf, ond mai yn Louisville y cawswn yr olwg ddiweddaf arno, nad oedd yn fy *mag* yn awr, ac na wyddwn beth ddaethai o hono. Anfonodd fi yn ol i'r lle y gleniais i edrych os oedd wedi ei ollwng ar y ffordd. Wrth gwrs, ni ddaethum o hyd iddo. Ychydig stwr a wnaeth yn ei gylch pa fodd bynag, canys yr oedd ganddo fwriadau o'r eiddo ei hun i'm cadw i weithio iddo, ac ystyriai y cyfan fel tric o eiddo ei frawd i gael arian allan o honof. Yr oll a ddywedai yn nghylch y golled oedd, "Wel, fachgen, y mae hap ddrwg yn digwydd i bawb weithiau."

Yr oedd hyn oll yn bur esmwyth a boddhaus i ddyn yr hwn oedd mewn gorphwyll o ofid oherwydd y tric iselwael a diymwared, yn ol pob ymddangosiad, a wnaethid âg ef. Tybiais y buaswn yn rhydd yn fuan i gychwyn allan ac enill y can' *dollar* a'm rhyddhai o'm rhwymedigaeth i'm meistr. Ond gwelwn fy mod i ddechreu eilwaith ar fy hen orchwylion. Ofer oedd rhoi mynegiad i'm teimladau, ac aethum yn nghylch fy ngwaith gyda meddwl mor dawel ag y gallaswn, gan benderfynu ymddiried yn Nuw, a pheidio byth ag anobeithio.

## PENNOD IX.

### FY NGHYMERYD I'R DEHU ODDIWRTH FY NGWRAIG A'M PLANT.

CYCHWYN AM NEW ORLEANS. — ASTUDIO MORWRIAETH AR Y MISSISSIPPI.—Y CADBEN YN CAEL EI DARO YN DDALL.—DYFOD O HYD I RAI O'M HEN GYMDEITHION.—Y DYFNDEROEDD ISAF.

ELAI pethau yn mlaen yn y ffordd hon am oddeutu blwyddyn. O bryd i bryd, cellweiriai Meistr Amos â mi yn nghylch y chwe' chant a haner o ddoleri, a dywedai fod ei frawd beunydd yn ysgrifenu i wybod paham na fuaswn yn anfon rhywbeth. "*Diamond cut diamond*,"—dyna fel yr oedd hi gyda'r ddau frawd. Nid oedd gan Mr. Amos un dymuniad i chwareu i ddwylaw Mr. Isaac. Yr oedd yn llawen ddigon ei fod yn gallu sicrhau fy ngwasanaeth i gymeryd gofal ei *stock* a'i bobl.

Un diwrnod hysbysai fy meistr fi yn sydyn fod ei fab Amos, dyn ieuanc oddeutu un ar hugain oed, yn myned i lawr yr afon i New Orleans, gyda *flat-boat* yn llwythog o gynyrchion oddiar y fferm, a'm bod innau i fyned gydag ef. Yr oedd i gychwyn y dydd nesaf, ac yr oeddwn i fyned i'w helpu i werthu y llwyth i'r fantais oreu.

Yr oedd yr awgrym yma yn ddigon. Er nas mynegid yn glir, etto gwyddwn yn dda beth a

fwriedid, a'm calon a suddai ynof yn yr olwg ar y malldod angeuol a ddaethai ar yr oll o'm gobeithion hir-feithrinedig. Nid oedd un dewisiad ond angeu ei hun; etto meddyliwn fod gobaith cyhyd ag yr oedd bywyd, ac na wnawn anobeithio etto. Y disgwyliad yn nghylch fy nhynged a gynyrchai, pa fodd bynag, y gradd agosaf o drueni i anobaith, ac ofer i mi geisio desgrifio y gresyndod a brofwn fel yr ymbarotown i fyned ar fwrdd y *flat-boat*. Ychydig barotoad oedd genyf i'w wneud, bid siwr; ond yr oedd un peth a ymddangosai i mi yn bwysig. Gofynais i'm gwraig wnïo fy mhapur rhyddhad yn ddyogel mewn llain o frethyn, a gwnïo hwnw drachefn o gylch fy mherson. Meddyliais y gallai y meddiant o hono fod yn foddion i'm gwaredu etto, ac nid esgeuluswn unrhyw beth a gynygiai fod o'r gwasanaeth lleiaf at ddianc o'r caethwasiaeth dychrynllyd â pha un y'm bygythid.

Ni lawn ddeallais byth yr achos uniongyrchol o'r symudiad hwn ar ran Meistr Amos. Tyfai o fynych newidiad llythyrau, a gadwesid i fyny rhyngddo ef a'i frawd yn Maryland. Pa un ai fel cyfaddawd (*compromise*) rhwng eu hawliau cydymgeisiol y cytunid i'm gwerthu a rhanu y cynyrch, neu fod Meistr Amos, yn ofni i mi redeg i ffordd, wedi penderfynu fy nhroi yn olud heb adenydd, er elw iddo ei hun, ni ddaethum byth i wybod. Yr oedd y ffaith o'i fwriad, pa fodd bynag, yn glir ddigon; a Duw a ŵyr ei bod yn ddyrnod ofnadwy.

Dilynid fi gan fy ngwraig a'm plant hyd lan y dwfr, lle y cenais ffarwel â hwynt, a allasai fod yn ffarwel hyd byth; ac yna aethum i'r bâd, a weithid

gan dri o ddynion gwynion, a gyflogasid am y *trip*. Mr. Amos a minnau oedd yr unig bersonau eraill ar y bwrdd. Cynwysai y llwyth o wartheg i'w lladd, moch, da pluog, ŷd, *whisky*, a phethau eraill oeddynt i gael eu gwerthu, fel yr elem i lawr yr afon, lle bynag y gellid eu gwerthu i'r fantais oreu. Mordaith fasnachol gyffredin i New Orleans, dyddordeb yr hon oedd gynwysedig nid yn y damweiniau a gymerent le, nid mewn stormydd, llong-ddrylliad, neu golled allanol o unrhyw fath; ond yn y storm o nwydau a ymweithient ynof, a'r perygl mawr i mi wneud llong-ddrylliad o'm ffydd, yr hyn ddrygfyd a grogai uwch fy mhen dros y rhan fwyaf o'r daith. Crybwyllaf un amgylchiad, yn unig, er egluro, fel y gwnaed yn fynych gan ddigwyddiadau eraill yn fy mywyd, eiriau cyngor y Gwaredwr, "Pwy bynag a fynno fod yn benaf yn eich plith, bydded yn was i chwi."

Yr oeddym yn rhwym bob un i gymeryd ein tro wrth y llyw, weithiau dan gyfarwyddyd y cadben, ac weithiau ar ein cyfrifoldeb ein hunain, am nad allai bob amser fod yn effro. Yr oedd llai o anhawsdra y dydd na'r nôs, pan oedd yn ofynol fod rhywun a wyddai pa fodd i osgoi traethellau ac ysgythrleoedd yn yr afon; y cadben oedd yr unig berson ar y bwrdd a feddai y wybodaeth hon. Ond pa un bynag ai dydd ai nôs, gan mai fi oedd yr unig negro ar y bâd, gorfodid fi i sefyll o leiaf dri thro wrth y llyw am un i bawb eraill; fel, drwy fod yn fynych gyda'r cadben, a chael fy nhaflu yn aml ar fy ymdrechion fy hun, y dysgais y gelfyddyd o hwylio

a llywio y bâd yn llawer gwell na'r lleill. Gwyliais y chwim-symudiadau angenrheidiol i saethu heibio i "*sawyer*," tirio ar fanc, osgoi craig, neu ager-fâd, yn llifeiriant chwyrn y Mississippi, nes y gallwn ei wneud yn gystal a'r cadben. Wedi peth amser, ymosodwyd arno gan anhwylder yn ei lygaid; daethant i fod yn dra ennynol a chwyddedig. Buan y gwnaed ef yn hollol dywyll ac analluog i wneud ei ran o'r gwaith. Myfi oedd y dyn goreu at gymeryd ei le, ac o'r amser hwnw hyd pan gyrhaeddasom i New Orleans, myfi mewn gwirionedd oedd meistr y bâd.

Wedi myned o'r cadben yn dywyll, rhaid oedd i ni orwedd i fyny y nôs, yn gymaint ag nad oedd neb eraill o honom wedi bod i lawr yr afon o'r blaen; ac yr oedd yn angenrheidiol bod ar wyliadwriaeth drwy y nôs, er attal anrheithiadau y negroaid ar y lan, y rhai yn fynych a arferent ymosod ar y fath gwch a'r eiddom ni, er mwyn yr ymborth a geid ar y bwrdd.

Ar ein ffordd i lawr yr afon, arosasom yn Vicksburg, a chefais ganiatad i ymweled â phlanfa ychydig filldiroedd o'r dref, lle yr oedd rhai o'm hen gymdeithion a ddygaswn o Kentucky yn byw. Yr ymweliad difrifolaf a wnaethum erioed ydoedd. Yr oedd pedair blynedd mewn hinsawdd afiach, a than feistr caled, wedi gwneud gwaith arferol ugain. Yr oedd eu gruddiau yn llythyrenol wedi eu cafnio i mewn gan eisieu ac afiechyd. Desgrifient eu bywyd dyddiol, yr hyn ydoedd llafurio yn haner noethion mewn cors-leoedd afiach, dan haul oedd yn llosgi ac yn pen-syfrdanu,

yn agored hefyd i wenwyn *mosquitoes* a morgrug duon, a dywedent eu bod yn edrych yn mlaen at angau fel eu hunig ymwared. Wylai rhai o honynt allan wrth fy ngweled yno, a meddwl am y dynged y teimlent ei bod yn fy aros innau. Yr oedd eu hofnau gwaethaf yn nghylch cael eu gwerthu i'r De wedi cael mwy na'u sylweddoli. Aethum i ffordd yn glaf o galon, ac hyd y dydd hwn y mae y côf am y cynulliad truenus hwnw yn fy mhoenus ddilyn.

---

## PENNOD X.

### PROFEDIGAETH DDYCHRYNLLYD.

DYHEU AM FARWOLAETH.—LLOFRUDDIAETH YN FY NGHALON.—CODI Y FWYELL.—CYDWYBOD YN SIARAD, MINNAU YN CAEL FY NGWAREDU.—I DDUW Y BO Y DIOLCH.

YMDDANGOSAI fod holl natur oddi allan fel am borthi fy meddyliau pruddglwyfus. Nis gwn beth a wêl y rhan fwyaf o ddynion wrth fordwyo i lawr y Mississippi. Os yn llawen a gobeithiol, llawer o brydferthwch a dyddordeb, mae 'n debyg. Os yn farsiandwyr aiddgar, afon euraidd, fe ddichon, yn llwythog gan gyfoeth cenhedloedd. Myfi, ni welwn ddim ond argoelion o wae ac anobaith. Caethgutiau gresynol, arogl dyfroedd cronedig, celaneddau haner-pydredig ceffylau ac ychain, wedi eu gorchuddio â *turkey-buzzards* a heidiau o wybed gleision—dyma y delweddau â pha rai y lleinw y côf fy meddwl i. Hollol ymollyngai fy ffydd yn Nuw. Nis gallwn mwyach weddio nac ymddiried. Meddyliwn ei fod wedi fy ngwrthod, a'm bwrw ymaith yn dragywydd. Nid edrychwn atto Ef am help. Ni chanfyddwn ond ymddangosiadau gresynol ffurfiau curiedig fy nghymdeithion negroaidd; ac ynddynt gwelwn gyfryngiad sicr, buan, caruaidd yr un cyfaill di-feth hwnw i'r truenus—angau! Ie,

angau a'r bedd! "Yno yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro; ac yno y gorphwys y rhai lluddedig. Y rhai a garcharwyd a gânt yno lonydd yn nghyd; ni chlywant lais y gorthrymydd." Dwy flynedd o beth fel hyn a wnelai fy lladd. Ymdrown gyda'r meddwl hwn gyda boddhad pruddglwyfus, etto peraidd. Dwy flynedd! ac yna byddwn yn rhydd. Rhydd! fy ngobaith meithrinedig o hyd, er nad oeddwn yn meddwl y deuai i ben.

Fel y cerddwn yn ol ac yn mlaen ar y *deck*, yn ystod fy ngwyliadwriaeth, trown yn fy meddwl lawer amcan poenus a nwydwyllt. Wedi yr oll a wnaethwn i Isaac ac Amos Riley, wedi yr oll o'r parch a broffesent tuag attaf, effeithiai y fath addaliad a hyn am fy holl wasanaeth, y fath amlygiad o'u diystyrwch llwyr o'm hawliau arnynt, a'r hunanoldeb angerddol â pha un yr oeddynt yn barod i'm haberthu, unrhyw foment, i'w mantais tybiedig—effeithiai hyn er troi fy ngwaed yn fustl, a'm cyfnewid o fod yn rhywun bywiog, ïe, dywedaf tirion ei dymer hefyd, i fod yn gaethwas anwar, ystyfnig, a pheryglus. Nid oeddwn mewn un modd yn myned fel oen i'r lladdfa; ond teimlwn fy hun yn dyfod yn fwy ffyrnig bob dydd; ac fel y dynesem at y lle yr oedd yr anfadwaith hwn i gael ei gyflawni, deuwn yn fwy-fwy cynhyrfus gan ffyrnigrwydd oedd braidd tu hwnt i reolaeth. Dywedais wrthyf fy hun, "Os hyn yw fy rhan i fod, nis gallaf ei gynal yn hir. Nid wyf mor ieuanc a'r rhai yr wyf newydd weled eu cyflwr gresynol, ac os ydyw wedi eu dwyn hwy i'r fath gyflwr, buan y gwnaiff fy lladd i. Cymerir fi i le a sefyllfa y

bydd i'm bywyd gael ei fyrhau, a'i wneud yn fwy truenus. Paham nad wyf i attal y camwri hwn os gallaf, drwy fyrhau bywydau y rhai a fwriadant gyflawni y fath annghyfiawnder? Gallaf wneud yr olaf yn rhwydd ddigon. Nid oes ganddynt amheuaeth o honof, ac y maent y foment hon dan fy rheolaeth ac yn fy ngallu. Y mae llawer o ffyrdd drwy y rhai y gallwn eu dinystrio, a dianc; ac yr wyf yn teimlo y byddwn yn gyfiawnhaol am ddal ar y cyfle da cyntaf." Ni wnelai y meddyliau hyn ymsaethu yn groes i lygad fy meddwl ac yna diflanu, ond hwy ymffurfient i ddulliau a dyfent yn fwy ac a ymddangosent yn gadarnach bob tro y cyflwynent eu hunain i'r golwg; o'r diwedd gwnaed fy meddwl i fyny i droi y cysgodion erch yn wirionedd dilys.

Penderfynais ladd fy mhedwar cydymaith, cymeryd yr arian a geid o'u deutu, suddo y bâd, a dianc i'r Gogledd. Cynllun tlawd efallai ydoedd, a buasai yn methu yn dra thebyg; ond yr oedd wedi ei lunio mor dda, dan yr amgylchiadau, a chynlluniau llofruddion yn gyffredin. Wedi fy nallu gan nwyd, a'm colynu gan orphwylledd megys yr oeddwn, nid oeddwn yn canfod unrhyw anhawsdra yn ei gylch. Un noswaith dywyll, wlawog, o fewn ychydig ddyddiau o bellder o New Orleans, ymddangosai fod fy awr wedi dyfod. Yr oeddwn fy hunan ar y bwrdd, a Master Amos a'r dwylaw oll yn cysgu i waered; ymgripiais yn ddystaw i lawr, cymerais afael mewn bwyell, aethum i'r caban, a chan edrych yn llewyrch y goleuni gwanaidd oedd yno am fy ysglyfaeth, disgynodd fy llygaid ar Master

Amos, yr hwn oedd yr agosaf attaf. Ymlithrai fy llaw hyd goes y fwyell, cyfodais hi i daro y ddyrnod farwol—pan y daeth y meddwl yn sydyn i mi, "Beth! cyflawni *llofruddiaeth*, a chwithau yn Gristion?" Nid oeddwn wedi ei alw yn llofruddiaeth o'r blaen, ond hunan-amddiffyniad, er attal eraill i'm llofruddio i. Meddyliwn ei fod yn gyfiawnhaol, ac hyd yn nod yn ganmoladwy. Ar unwaith, ymdorai y gwirionedd ar fy meddwl ei fod yn drosedd. Yr oeddwn yn myned i ladd dyn ieuanc na wnaethai ddim i'm niweidio, ac nad oedd yn unig ond yn ufuddhau i archiadau ei dad. Yr oeddwn oddeutu colli ffrwyth fy holl ymdrechion er hunan-ddiwylliant, y nodweddiad oeddwn wedi ei gyrhaedd, a'r tangnefedd meddwl nad oedd erioed wedi fy ngadael. Deuai hyn oll attaf gydag eglurder a barai i mi braidd dybied ei glywed yn cael ei sibrwd yn fy nghlust; a chredaf i mi droi fy mhen hyd yn nod i wrando. Ciliais yn ol, rhoddais y fwyell i lawr, a diolchais i Dduw, fel y gwnaethum bob dydd ar ol hyny, na chyflawnais i y llofruddiaeth hwnw.

Cynhyrfid fy nheimladau etto, ond yr oeddynt wedi cyfnewid. Llenwid fi â chywilydd ac euogrwydd oblegid y bwriad a goleddaswn, ac yn ofni i'm cymdeithion ei ddarganfod yn fy wyneb, neu i air diofal fradychu fy meddyliau euog, arosais ar y *deck* drwy y nôs, yn hytrach na deffroi un o'r dynion i fod ar wyliadwriaeth; ac nid oedd dim a ddygai dawelwch i'm meddwl ond y penderfyniad difrifol a wnaethum y pryd hwnw, i roddi fy hun i fyny i ewyllys Duw, a chymeryd gyda diolchgarwch, os gallwn, ond gydag ymostyngiad, er pob peth, i'r hyn

a ordeiniai Ef yn rhan i mi. Meddyliwn os byddai i'm bywyd gael ei ddwyn i lawr i dymor byr, y byddai genyf lai i'w ddyoddef; mai gwell fyddai marw gyda gobaith Cristion, a chydwybod dawel, na byw gyda yr adgof gwastadol am drosedd a ddinystriai werth bywyd, a than bwysau cyfrinach (*secret*) a lethai allan y mwynhad a ellid ddisgwyl o ryddid a phob bendith arall. Bum yn hir cyn adenill fy hunan-reolaeth a'm sirioldeb arferol. Etto, credwyf na ddarfu i neb ond y rhai y dywedais yr hanes wrthynt fy hunan erioed fy amheu o fynwesu y fath feddyliau am foment.



# PENNOD XI.

## GWAREDIGAETH RAGLUNIAETHOL.

YN CAEL FY NGHYNYG AR WERTH.—FY ARCHWILIO GAN BRYNWYR. —EIRIOL GYDA FY MEISTR IEUANC YN OFER.—CYFYNGDER DYN, CYFLEUSDRA DUW.—DA AM DDRWG.—DYCHWELYD I'R GOGLEDD. —FY NGWERTH CYNYDDOL.—PENDERFYNU PEIDIO BOD YN GAETHWAS MWY.

YN mhen ychydig ddyddiau wedi y cyfwng profedigaethus hwn yn fy mywyd, cyrhaeddasom New Orleans. Gwerthwyd yr ychydig a weddillasid o'r llwyth yn fuan, talwyd y dynion ymaith, ac nid oedd dim ar ol eto ond fy ngosod i ar werth, a thori y bâd i fyny, ac yna bwriadai Master Amos gymeryd agerlong, a dychwelyd adref. Nid oedd mwyach unrhyw orchudd dros y bwriad gyda golwg arnaf fi. Cydnabyddai Master Amos mai dyna oedd y cyfarwyddiadau a gawsai; ac yr oedd yn awr yn myned i'w cyflawni. Daeth amryw blanwyr i'r bâd i edrych arnaf; anfonwyd fi ar ryw neges frysiog fel y gwelent pa fodd y gallwn redeg; archwilid fy rhanau corphorol fel y gwnaethid â cheffyl; a diamheu y byddai i gyfrif o'm gwahanol gyneddfau ddyfod i mewn i'r ddadl o barthed i'r fargen, fel y mwyheid fy ngwerth fel anifail teuluaidd. Bu Master Amos yn siarad, gyda thirioneb ymddangosiadol, yn nghylch

cael meistr da yr hwn a'm cymerai i fod yn gerbydwr, neu yn was tŷ; ond fel yr elai amser heibio ni chanfyddwn unrhyw ymgais o'r fath.

Yn ein hadegau hamddenol, defnyddiais bob moddion dichonadwy i symud ei galon. Gyda dagrau a gruddfanau y ceisiwn ganddo beidio fy ngwerthu oddiwrth fy ngwraig a'm plant. Cyfeiriais droion at fy ngwasanaeth blaenorol i'w dad, a gelwais i'w gôf fil o bethau a wnaethwn yn bersonol iddo ef. Dywedais wrtho am gyflwr gresynol y caethion a welswn yn agos i Vicksburg. Weithiau tywalltai ddagrau ei hun, a dywedai fod yn ddrwg ganddo drosof. Eto gwelwn fod ei fwriad yn ddigyfnewid. Yn awr cadwai o'm ffordd hyd y gallai, a rhagflaenai bob ymgais o'r eiddof i siarad âg ef. Yr oedd yn amlwg fod ei gydwybod yn ei flino. Gwyddai ei fod yn gwneud gwaith creulawn a drwg, ac ewyllysiai ddianc rhag meddwl am dano. Gyrwn yn galed arno, canys yr oeddwn yn deisyf am fy mywyd. Syrthiais i lawr a glynais wrth ei draed mewn erfyniau. Ar brydiau, pan wesgid arno yn rhy agos, melldithiai a tharawai fi. Maddeued Duw iddo. Ac eto nid ei fai ef yn gwbl ydoedd; gwnaed ef felly gan y berthynas felldigedig rhwng y caeth-feistr a'r caethwas. Yr oeddwn yn eiddo—nid dyn, nid tad, nid priod. A chyfreithiau eiddo a hunan-les, nid dynoliaeth a chariad, oedd yn cael yr oruchafiaeth.

O'r diwedd, dirwynwyd pob peth i fyny ond yr un achos hwn. Yr oeddwn i gael fy ngwerthu y dydd nesaf, a Master Amos yntau i fyned ymaith ar ei ddychweliad mewn agerfâd am chwech yn y prydnawn. Nis gallwn gysgu y noson hono; ei horiau

a ymddangosent yn faith ddiderfyn, er mai un o'r rhai byraf yn y flwyddyn ydoedd. Yr oedd y dull araf yn mha un y daethem i waered wedi ein dwyn i ddyddiau hirion a phoethderau Mehefin; a gŵyr pawb beth yw hinsawdd New Orleans yn yr adeg hono o'r flwyddyn.

Ac yn awr y digwyddodd un o'r cyfryngiadau disymwth hynod hyny mewn Rhagluniaeth, drwy y rhai mewn moment y cyfnewidir holl rediad bywyd dyn—un o'r damweiniau ysgeifn, ac ar y cyntaf anwerthfawredig hyny, drwy y rhai y cedwir yn fyw y ffydd mai cyfyngder dyn yw cyfleusdra Duw. Ychydig a feddyliwn pan alwai Master Amos arnaf ychydig cyn toriad y wawr, ac y dywedai ei fod yn sâl, pa mor bell yr oedd fy nyfodol wedi ei rwymo i fyny yn yr ychydig eiriau hyny. Yr oedd ei ystumog wedi anhwylio, a chynghorais ef i orwedd i lawr drachefn, gan dybied yr elai heibio yn fuan. Cyn hir teimlai yn waeth, ac yr oedd yn amlwg fod llucheden yr afon (*river-fever*) arno. Gwaethygodd yn gyflym, ac erbyn wyth yn y boreu, yr oedd ef ar lawr yn hollol. Yr oedd y byrddau yn awr wedi troi. Nid eiddo oeddwn mwyach, nid anifail i gael fy mhrynu a'm gwerthu, ond ei unig gyfaill yn nghanol dyeithriaid. O! mor wahanol ei dôn oddiwrth yr hyn ydoedd y dydd o'r blaen. Efe yn awr oedd yr erfynydd, yn wrthddrych tlawd, dychrynedig, yn ofni marw, ac yn nydd-droi mewn poen; yno y gorweddai diweddar benderfynydd fy nhynged. Fel y deisyfai arnaf faddeu iddo! "Glynwch wrthyf, Sie! Glynwch wrthyf, Sie! Peidiwch a'm gadael, peidiwch a'm gadael. Mae yn

ddrwg genyf fy mod o'r blaen am eich gwerthu." Weithiau dywedai nad oedd ond yn cellwair, ac heb byth feddwl am ymadael â mi. Fel hyn, yr oedd y byrddau wedi eu troi yn hollol. Erfyniai arnaf brysuro i drefnu pethau, gwerthu y bâd yn mha un y buasem byw, a'i gael ef a'i gist, yn cynwys cynyrch y *trip*, ar fwrdd yr agerfâd mor fuan ag y gellid. Telais sylw i'w holl ddymuniadau, ac erbyn deuddeg o'r gloch y dydd hwnw yr oedd efe yn un o gabanau yr agerfâd ag oeddynt ar gyfer teithwyr a fyddai yn glaf.

O, fy Nuw! fel y canai fy nghalon anthemau o fawl i Ti fel y rhyddheid yr agerfâd oddiwrth y lan, ac y dechreuai rwygo yn erbyn llanw cryf y Mississippi! Ymaith oddiwrth dir caethiwed a marwolaeth! Ymaith oddiwrth drueni ac anobaith! Unwaith yn rhagor meddienid fi gan obaith derchafedig, a meddyliais os na chaf fy ffordd i ryddid yn awr, na rodded Duw y cyfle i mi byth yn rhagor!

Cyn ein bod wedi myned lawer o oriau ar ein taith, ymddangosai fod fy meistr ieuanc yn well. Effeithiai newidiad awyr i fesur er ei adfywio; a da iddo mai felly yr ydoedd. Er mor fyr fuasai ei salwch, yr oedd y dwymyn wedi enyn fel tân, ac yr oedd eisoes yn agos i angau. Gwyliais a meithrinais ef fel mam; canys yr oedd pob adgof am gamwri personol wedi ei ddiddymu yn yr olwg ar ei berygl. Ei lygaid a'm canlynent mewn erfyniad lle bynag yr elwn. Yr oedd ei nerth wedi myned mor lwyr fel nas gallai na siarad na symud aelod, ac nis gallai arwyddo dymuniad am lwyaid o *gruel*, neu rywbeth i leithio

ei wddf, ond yn unig drwy wanaidd symud ei wefusau. Maethwn ef yn ofalus a chyson. Nid oedd dim arall allai waredu ei fywyd. Crogai wrth edefyn am hir amser. Buom ddeuddeng niwrnod cyn cyrhaedd adref, canys yr oedd y dwfr yn isel yn yr adeg hono, yn enwedig yn afon Ohio; a phan gyrhaeddem y lle yr oeddym i lanio, yr oedd ef etto yn analluog i siarad, ac ni ellid ei symud ond ar *litter*. Gwnaed un ar ei gyfer yn y fan hono er ei gludo i'r tŷ, pa un oedd bum' milldir oddiyno; a chefais gwmni o'r caethion perthynol i'r etifeddiaeth i gynorthwyo eu gilydd yn nghyflawniad yr amcan. Fel y dynesem at y tŷ, yr oedd y syndod o'm gweled yn ol eilwaith, a'r petrusder i ddyfalu beth a ddygwn gyda mi â'r fath gwmni, yn ddirfawr; ond buan y gwnaed y darganfyddiad a esboniai yr ymddangosiad dyeithrol; a deuai tristwch tad a mam, brodyr a chwiorydd i gael ei weled a'i glywed. Uchel a maith oeddynt y galargwynion uwchben Amos druan; a phan ddaeth y teulu ychydig attynt eu hunain, mawr oedd y cymeradwyaethau a roddid i mi am fy ngofal am dano ef a'r eiddo.

Er cyrhaedd o honom adref ar y 10fed o Orphenaf, yr oedd yn ganol Awst cyn bod Master Amos yn abl i adael ei ystafell. I wneud iawnder âg ef, dangosai ddiolchgarwch cryf tuag attaf. Ei eiriau cyntaf braidd ar ol adenill nerth i allu siarad oeddynt gymeradwyol o'm hymddygiad tuag atto. "Pe wedi ei werthu, buaswn wedi marw." Ar y gweddill o'r teulu nid ymddengys ddarfod i unrhyw argraff arosol gael ei wneud. Yr oll a dderbyniais oedd yr ychydig eiriau cyntaf o ganmoliaeth. Rhoddwyd fi

at fy hen waith. Gan nad beth oedd fy haeddianau, yn lle cyffroi cydymdeimlad, neu unrhyw deimlad o ymlyniad wrthyf, nid ymddangosai eu bod ond yn unig yn mwyhau fy ngwerth marchnadol yn eu golwg. Gwelwn mai unig feddwl fy meistr oedd fy ngwneud yn enillfawr iddo ei hun. Oddiwrtho ef nid oedd genyf ddim i'w obeithio, a throais fy meddyliau attaf fy hun a'm hegniadau.

Cyn hir teimlwn yn sicr y gwneid ymdrech arall i ymadael â mi. Ymddangosai i Ragluniaeth un tro i gyfryngu er rhwystro y cynllun, ond nis gallwn ddisgwyl i'r fath amgylchiadau hynod gymeryd lle eilwaith; ac yr oeddwn yn rhwym o wneud pob peth o fewn fy ngallu i'm dyogelu fy hun a'm teulu oddiwrth gydfradwriaeth drygionus Isaac ac Amos Riley yn erbyn fy mywyd, yn gystal ag yn erbyn fy iawnderau naturiol, a'r rhai a gyrhaeddaswn hyd yn nod dan gyfreithiau barbaraidd caethwasiaeth, drwy yr arian a dalaswn am danaf fy hun. Pe buasai Isaac ond yn ddigon gonest i lynu wrth ei fargen, buaswn innau yn glynu wrth yr eiddof, ac yn talu iddo yr oll a addawswn. Ond yr oedd ei ymgais i'm lladrata eilwaith, ar ol pocedu tair rhan o bedair o'm gwerth marchnadol, i'm tyb i, yn fy rhyddhau oddiwrth bob rhwymedigaeth i dalu ychwaneg iddo, neu i barhau mewn sefyllfa a'm gwnelai yn agored i'w gynllwynion.

## PENNOD XII.

### DIANC O GAETHIWED.

UNIGOL FYFYRDODAU.—PAROTOADAU I DDIANC.—HIR NOS DA'WCH I'M MEISTR.—NOSWAITH DYWELL AR YR AFON.—TEITHIAU NOSAWL YN INDIANA.—AR FIN NEWYNU.—GWRAIG DIRION.—DULL NEWYDD O DDIOD-GWPAN.—CYRHAEDD CINCINNATI.

Yn ystod y dyddiau dysglaer a gobeithiol a dreuliaswn yn Ohio, pan allan ar fy nhaith bregethwrol, clywswn lawer am y cwrs a ddilynid gan ffoedigion o gaethiwed, a daethum yn gydnabyddus â nifer o ddynion haelfrydig a arferent gynorthwyo rhai ar eu ffordd. Mynych y lleferid am Canada, fel yr unig noddfa ddyogel rhag erlyniad, a'r wlad fendigaid hono yn awr oedd dymuniad fy nghalon hiraethlawn. Gorweddai blindeithiau a pheryglon annhraethol rhyngof â'r lle tawel hwnw o addewid, digon i ddychrynu y galon fwyaf eon; ond yr oedd y tân o'r tu ol i mi yn rhy boeth a ffyrnig i ganiatau aros o honof i'w hystyried. Adwaenwn y Seren Ogleddol—diolch i Dduw am ei gosod yn y nefoedd! Fel Seren Bethlehem, mynegai i mi lle y gorweddai fy iachawdwriaeth. Pe gallwn ei dilyn drwy fforest, ac afon, a maes, hi arweiniai fy nhraed yn ffordd gobaith. Meddyliwn am dani fel fy arweinydd nef-roddedig i wlad yr

addewid ag oedd draw yn mhell dan ei goleuni. Gwyddwn iddi arwain miloedd o'm brodyr truain, erlidiedig, i ryddid a gwynfydedigrwydd. Teimlwn ddigon o yni yn fy mynwes i ymryson âg eisieu a pherygl; a phe buaswn yn ddyn rhydd a *diofalon*, heb wybod am rwymau tad neu briod, ac heb ystyriaeth ond am fy nyogelwch fy hun yn unig, teimlaswn fod pob anhawsderau yn ysgafn yn yr olwg ar y gobaith oedd o'm blaen. Ond, Och! yr oedd genyf wraig a phedwar o blant; pa fodd y gallwn ddarparu ar eu cyfer? Eu gadael nis gallwn; ie, hyd yn nod am y rhagor-fraint fendigedig o ryddid. Rhaid iddynt hwythau hefyd fyned. Rhaid eu gwneud hwythau hefyd yn gyfranog â mi o fywyd o ryddid.

Nid heb faith fyfyrdod ar y mater, y dyfeisiais gynllun o ddiangfa. O'r diwedd, myfi a'i haeddfedais. Wedi cwbl wneud fy meddwl i fyny, cyflwynais y bwriad i'm gwraig. Llanwyd hi â dychryn. Gyda greddf gwraig, ymlynai wrth aelwyd a chartref. Ni wyddai ddim am y byd llydan tu hwnt, a'i dychymyg a boblogai yr unrhyw âg anweledig ddychrynfeydd. Dywedai, "Byddwn feirw yn y diffaethwch; cawn ein hela i lawr gyda gwaedgwn; dygir ni yn ol a ffrewyllir ni i farwolaeth." Gyda dagrau a thaer-erfyniau y ceisiai genyf ymfoddloni i aros gartref. Yn ofer yr esboniwn iddi fel yr oeddym yn agored i gael ein rhwygo oddiwrth ein gilydd unrhyw foment; ac am ddychrynfeydd y caethiwed a welswn yn ddiweddar; a'r hapusrwydd a fwynhaem yn nghyd mewn gwlad rydd, heb berygl cael ein hymlid mwy. Ni ddyoddefasai hi chwerw-

der fy nghyfran i, ac ni theimlai y fath hiraeth am ryddhad. Caethwraig druan, ofnog, ac heb arfer rhesymu ydoedd.

Ymresymais y mater gyda hi ar wahanol amserau, nes y boddlonwyd fi na lwyddai ymresymiad yn unig. Yna dywedais wrthi yn bwyllog, er y byddai yn brawf creulawn i mi ymadael â hi, mai felly y gwnawn, ac y cymerwn yr holl blant gyda mi oddieithr yr ieuengaf, yn hytrach nag aros gartref, yn unig i gael ein rhwygo drwy orthrech oddiwrthi, a'n hanfon i lawr i ddihoeni bodolaeth druenus allan yn yr ogofäau yr ymwelswn â hwynt yn ddiweddar. Eilwaith hi wylai ac a erfyniai, ond yr oeddwn yn gwbl benderfynol. Trwy gydol y nos hi a'm cymhellai yn aneffeithiol i newid fy mwriad. Yn flin a gorphwyllog gadewais hi yn y boreu i fyned at fy ngwaith dros y dydd. Cyn myned o honof yn mhell, clywn ei llais yn galw arnaf, a chan ddisgwyl nes i mi ddyfod i fyny, hi ddywedai o'r diwedd y deuai gyda mi. Wynfydedig ymwared! llifai dagrau fy llawenydd yn gyflymach na 'r eiddo hi o dristwch.

Yr oedd ein caban, y pryd hwn, gerllaw y lle glanio. Estynai y blanfa ei hun dros yr oll o'r pum' milldir o'r tŷ i'r afon. Yr oedd amryw ffermydd gwahanol, yr oll o ba rai a arolygid genyf, ac am hyny yr oeddwn yn marchogaeth o'r naill i'r llall bob dydd. Yr oedd ein bachgen hynaf yn y tŷ gyda Master Amos; y gweddill o'm plant oeddynt gyda fy ngwraig.

Y prif ddiffyg ymarferol a fuasai yn pwyso ar fy meddwl oedd yn nglyn â'r ddau ieuengaf o'm plant. Yr oedd un yn dair a'r llall yn ddwy flwydd oed, ac

wrth gwrs rhaid fyddai eu cario. Gan eu bod yn gorphol ac iachus, yr oeddynt yn faich trwm, a honai fy ngwraig y byddai i mi dori i lawr dano cyn myned o honof bum' milldir o dref. Ryw gymaint o amser yn flaenorol, buaswn yn ei chyfarwyddo i wneud *knapsack* mawr o liain bras i mi, digon i ddal y ddau, a'i drefnu gyda strapiau cryfion i fyned o amgylch fy ysgwyddau. Wedi gwneud hyn, arferwn eu cario nôs ar ol nôs, er profi fy nerth fy hun yn gystal ag er eu harfer hwythau i ddygymod â'r peth. Iddynt hwy yr oedd yn ddigrifwch braf, ac er llawenydd mawr i mi, gwelais y gallwn eu trin yn llwyddianus. Rhoddai fy ngwraig ei chydsyniad ar foreu dydd Iau, a phenderfynais gychwyn y nôs Sadwrn dilynol. Yr oedd y Sul yn ddydd gorphwys; ar y dyddiau Llun a Mawrth yr oeddwn i fod ymaith ar ffermydd pell oddiwrth y tŷ; fel hyn byddai i amryw ddyddiau fyned heibio cyn y collid fi, ac erbyn hyny byddwn wedi cael cychwyniad da.

O'r diwedd, y noswaith helyntfawr a ddaeth. Yr oedd pob peth yn barod, gyda yr eithriad unigol nad oeddwn eto wedi cael caniatad fy meistr i Tom bach gael ymweled â'i fam. Oddeutu machlud haul aethum i fyny i'r palasdy i roddi adroddiad o'm gwaith, ac ar ol siarad am amser, cychwynais ymaith, fel arfer, am gartref; ond gan ymddangos yn sydyn, fel pe yn adgofio rhywbeth a annghofiasid genyf, troais o amgylch yn ddiofal, a dywedais, "O! Meistr Amos, rhaid fy mod yn annghofus, ewyllysia mam Tom wybod ai ni wnewch adael iddo gael dod i waered am ychydig ddyddiau; y mae arni eisieu trwsio ei ddillad, a'i harddu i fyny ychydig." "Gwir,

fachgen, gwir; fe all fyned." "Diolch i chwi, Meistr Amos; nos da'wch, nos da'wch. Yr Arglwydd a'ch bendithio!" Er gwaethaf i mi fy hun, teflais gryn bwyslais i'm ffarwel. Nis gallwn ymatal oddiwrth lawenychiad mewnol oblegid y meddwl,—fath nos da'wch hir fydd hon yna! Yr oedd y tir oll yn agored yn awr, ac fel y tramwywn tua thref, cymerais drem serchlawn ar y gwrthddrychau gwir adnabyddus ar fy ffordd. Rhyfedd yw dweyd, cymysgai tristwch gyda 'm llawenydd; ond nis gall un dyn fyw yn hir yn un man heb deimlo rhyw ymlyniad wrth y tir ar ba un y llafuria.

Oddeutu canol Medi ydoedd, ac erbyn naw o'r gloch yr oedd pob peth yn barod. Noswaith dywell, ddi-loer ydoedd, pan aethom i'r cwch bychan, yn mha un llwyddais gael gan gydgaethwas ein dwyn yn groes i'r afon. Moment bryderus ydoedd. Gyda thawelwch angau yr eisteddem. Yn nghanol y llif dywedai y creadur da wrthyf, "Bydd yn ddiwedd i mi os byth y ceir hyn allan; ond ni fynwch ddod yn ol yn fyw, Sie, a fynwch chwi?" "Na fynaf os gallaf ei helpio," atebwn innau; a meddyliwn am y llaw-ddrylliau a'r gyllell a brynaswn ryw gymaint o amser yn ol gan ddyn gwyn. "Ac os byddant yn rhy luosog i chwi, a chwithau i gael eich dal, ni ddywedwch byth y rhan a gymerais i yn yr helynt hwn?" "Na wnaf, serch i mi gael fy saethu drwodd a'm gwneud fel gogr." "Dyna ddigon," eb efe, "a Duw a'ch helpo." Taled y nefoedd iddo. Dilynodd yntau hefyd fy nghamrau ar ol hyny; a llawer gwaith mewn gwlad o ryddid y buom yn siarad am y noswaith ddu hono ar yr afon.

Mewn amser cyfaddas tiriasom yr ochr arall yn Indiana. Llefarwyd ffarwel calonog, diolchgar, y fath ag nas gall neb ond cymdeithion mewn perygl ei draethu, a chlywn rwyfau y cwch yn ei weithio yn mlaen tuag adref. Yno y safwn yn y tywyllwch, fy rhai anwyl gyda mi, a'r dyfodol tywyll, dyeithr, o'n blaen. Ond nid oedd ond ychydig amser i fyfyrdod. Cyn dyfod o'r boreu-ddydd, rhaid i ni roddi cynifer o filldiroedd o'n hôl ag a ellid, a bod wedi ein cuddio yn ddyogel yn y coedydd. Nid oedd genym gyfeillion i edrych attynt am gynorthwy, canys yr oedd y boblogaeth yn y rhan hono o'r wlad yn llwyr elyniaethol i'r ffoedig. Os gwelid ni, caem ein dal a'n gosod yn ngharchar. Yn Nuw yr oedd ein hunig obaith. Taer y gweddiwn arno, fel y tramwyem, yn ochelgar a lladradaidd, mor gyflym ag y gwnelai y tywyllwch a gwendid fy ngwraig a'r bechgyn ganiatau. Tuag atti hi yn wir, gorfodid fi i siarad yn arw; crynai fel deilen, ac hyd yn nod y pryd hwnw erfyniai arnaf ddychwelyd.

Am bythefnos, ymweithiem yn mlaen yn sefydlog, gan gadw ar y ffordd yn ystod y nôs, ymguddio pa bryd bynag y clywid cerbyd neu farchogwr damweiniol yn dynesu attom, ac ymgladdu yn y coedydd yn ystod y dydd. Treuliai ein hymborth ymaith yn dra chyflym. Ddau ddiwrnod cyn cyrhaedd Cincinnati yr oeddynt wedi darfod yn llwyr. Llefai y plant gan eisieu drwy y nôs, a fy ngwraig druan a'm llwythai â gwaradwyddiadau am eu dwyn i'r fath gyni. Peth chwerw oedd eu clywed yn llefain, a Duw a ŵyr fod arnaf eisieu cysur fy hunan. Fy aelodau oeddynt flinedig, a'm cefn a'm hysgwyddau

yn ddolurus oherwydd y baich a ddygaswn. Dilynid fi beunydd gan arswyd dychrynllyd,—arswyd cael fy nal; neidiwn allan o'm cwsg mewn dychryn, curai fy nghalon yn erbyn fy asenau, oherwydd disgwyl cael y cŵn a'r caeth-helwyr ar fy ol. Pe fy hunan, buaswn yn dal newyn, hyd nes llwyr ymollwng, cyn anturio i olwg tŷ i ymofyn am fwyd. Ond yn awr rhaid gwneud rhywbeth; angenrheidiol oedd rhedeg y *risk* o gael fy ngweled ar y ffordd wrth oleuni dydd.

Yr unig ffordd i fyned yn mlaen oedd mabwysiadu cynllun eon. Yn ganlynol, gadewais fy nghuddfan, a throais tua'r de, er tawelu unrhyw amheuaeth a allai gyfodi os gwelid fi yn myned y ffordd arall. Cyn hir daethum at dŷ. Rhuthrai ci ffyrnig attaf, ac ar waith ei feistr yn ei ddilyn i'w dawelu, gofynais os gwerthai ef ychydig fara a chig. Creadur surllyd ydoedd, "Na, nid oes genyf ddim i *niggers!*" Yn y tŷ nesaf, ni lwyddais fymryn gwell ar y cyntaf. Cyfarchai y gwr fi yn yr un arddull a'r llall; ond ei wraig, yn clywed yr ymddyddan, a ddywedai wrth ei phriod, "Pa fodd y gellwch ymddwyn fel yna at unrhyw fôd dynol? Pe byddai ci yn newynog, rhoddwn iddo beth i'w fwyta." Yna hi ychwanegai, "Y mae genym blant, a phwy a ŵyr na fyddant ryw ddydd mewn angen help cyfaill." Chwarddodd y dyn a dywedodd, os gofalai hi am *niggers*, na wnelai ef. Gofynodd i mi ddyfod i mewn, llanwodd *blate* â chig a bara, a phan ei rhoddais yn fy nghadach, ac y dodais chwarter *dollar* ar y bwrdd, hi a'i cymerai i fyny yn dawel ac a'i cyfleai yn fy nghadach, gyda swm ychwanegol o

gig-fwyd. Teimlwn y dagrau poethion yn treiglo i lawr fy ngruddiau fel y dywedai, "Duw a'ch bendithio;" a phrysurais ymaith i fendigo fy ngwraig a'm rhai bychain newynog.

Ychydig amser ar ol bwyta y cig, pa un oedd yn gwbl hallt, daeth y plant i fod yn sychedig iawn; gruddfanent ac ocheneidient, fel yr aethum ymaith yn ddirgelaidd i geisio dwfr, gan dori peth o'r llwyni, er nodi allan fy ffordd. Wedi cael ffrwd fechan, yfais yn helaeth o honi. Yna ceisiais ddwyn peth ymaith yn fy het; ond och! hi ollyngai y cwbl. Yn ddiweddaf, diosgais fy esgidiau, yn y rhai yn ffodus nid oedd tyllau, lledais a llenwais hwynt â dwfr, gan ei gludo felly i'm tylwyth. Hwy a'i hyfasant gyda mawr foddhad. Bum ar ol hyny yn eistedd wrth fyrddau wedi eu gwneud i fyny yn ysblenydd yn Canada, yr Unol Daleithiau, a Lloegr; ond ni welais erioed fodau dynol yn mwynhau dim yn fwy nag y mwynhâi fy rhai bychain truain a newynog y dracht adfywiol hwnw allan o esgidiau eu tad. Gwnaethom redfa hir y noson hono, ac yn mhen dau ddiwrnod ar ol hyny cyrhaeddasom Cincinnati.



## PENNOD XIII.

### TAITH I CANADA.

SAMARIAID DAIONUS.—YN UNIG YN Y DIFFAETHWCH.—CYFARFOD RHYW INDIAID.—CYRHAEDD SANDUSKY. — CYFAILL ARALL.— PAWB AR Y BWRDD.— BUFFALO. —"NIGGER RHYDD."— GORLAWNDER O LAWENYDD WEDI CYRHAEDD CANADA.

YN gymhariaethol teimlwn gartref yn awr. Cyn myned i mewn i'r dref cuddiais fy ngwraig a'm plant yn y coedydd, ac yna cerddais yn unig i chwilio am fy nghyfeillion. Hwy a'm croesawent yn wresog, ac yn ebrwydd gyda'r tywyllnôs, dygwyd fy ngwraig a'm plant i mewn, a chawsom ein lloni a'n hadfywio yn lletygar iawn. Parasai dwy wythnos o fod allan, yn agored i ludded gwastadol, pryder, gwlaw, ac oerni, ei bod yn annesgrifiadwy beraidd i fwynhau unwaith yn rhagor gysuron gorphwysfa a lle i ymgysgodi ynddo. Clywais weithiau eiriau celyd a chwerwon yn cael eu llefaru am y dynion ymroddedig hyny a ymunent i noddi a dweyd Duw yn rhwydd wrth y ffoadur erlidiedig; dynion, y rhai, drwy dosturi tuag at y dyoddefus, a wirfoddol wnaent eu hunain yn agored i gasineb, dirwyon, a charchariad. Os oes Duw a wna drugaredd â'r trugarogion, mawr fydd eu gwobr. Yn y dydd aruthr pan y saif dynion mewn barn ger bron y

Meistr Dwyfol, ymgynulla o'u deutu dorfeydd o rai alltud a gwrthodedig y ddaear, ac mewn acenion o lawenydd hwy dystiolaethant, "Buom newynog, a rhoisoch i ni fwyd; sychedig, a rhoddasoch i ni ddiod; noeth, a dilladasoch ni; clâf, a chwi a ymwelsoch â ni." Ac Efe, yr Hwn a ddywedodd, "Yn gymaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch," a dderbynia y dystiolaeth, ac a'u croesawa â'r cyfarchiad, "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad." Cyhoeddir eu clodydd eto oddiar benau tai, a bydded i dangnefedd Duw, yr hwn nis gall y byd ei roddi na'i gymeryd ymaith, breswylio yn helaeth yn eu calonau!

Yn mhlith rhai felly—Samariaid da, am y rhai y gwnelai ein Harglwydd ddweyd, "Ewch chwithau, a gwnewch yr un modd"—yr oedd ein coelbren yn awr wedi syrthio. Gyda gofal y darparent ar ein cyfer nes yr adferwyd ein nerth, ac yna, parent ein cludo ddeng milldir ar hugain o'n ffordd mewn *waggon.*

Dilynasom yr un cwrs ag o'r blaen—gan deithio y nôs a gorphwys y dydd—hyd nes dyfod o honom i Scioto, lle y dywedid wrthym y gallem gymeryd ffordd filwrol y Cadfridog Hull, a wnaed yn adeg y rhyfel â Phrydain Fawr, ac y gallem wedi hyny deithio gyda dyogelwch liw dydd. Adnabuasom y ffordd hon drwy y sycamorwydd a'r llwyfenau a nodent ei dechreuad, a chychwynasom ar hyd-ddi gydag ysbrydoedd adfywiedig yn moreu y dydd. Ni ddywedasai neb wrthym ei bod wedi ei thori drwy ddiffaethwch, ac yr oeddwn wedi esgeuluso darparu unrhyw ymborth, gan feddwl y deuem yn fuan at

rhyw drigfod, lle y caem foddion diwalliad. Ond teithiem yn mlaen ar hyd y dydd heb weled un, a'r nôs gorweddem i lawr yn newynog a lluddedig ddigon. Udai y bleiddiaid o'n deutu, ac er yn rhy lwfr i ddynesu, dychrynid fy ngwraig druan, a'r plant, gan eu swn. Nid arosai genym erbyn y boreu ond dernyn o *beef* wedi ei sychu, rhy fychan, yn wir, i foddio ein heisieu, ond yn ddigon i'n poenydio â syched annyoddefol. Rhenais y rhan fwyaf o hono yn ein mysg, ac yna cychwynem ar ein hail ddydd o ymdeithiad yn y diffaethwch. Dydd poenus i ni ydoedd. Y ffordd ydoedd arw—drain a rwygent ein dillad, ac a ddifaent ein nerth; cauid y ffordd i fyny gan goed a chwythesid i lawr; yr oeddym yn wan drwy newyn, ac o'n blaen nid oedd un olwg o ymwared yn ymagor. Ychydig a siaradem, eto llusgem yn mlaen yn ddiatal; myfi gyda'm babanod ar fy nghefn, a'm gwraig yn cynorthwyo y ddau blentyn arall i ddringo dros y prenau cwympedig, ac i ymwthio drwy y drain. Yn ddisymwth, fel yr araf-deithiwn ychydig o flaen fy ngwraig a'r bechgyn, clywn hwynt yn fy ngalw, ac wedi troi o amgylch gwelwn fy ngwraig yn gorwedd ar lawr. "Mae fy mam yn marw," llefai Tom; a phan gyrhaeddais hyd atti, ymddangosai felly mewn gwirionedd. Cwympasai drwy wir ludded wrth ddringo dros fôn pren. Yn wallgof gan bryder, ofnwn ei bod wedi myned. Dros rai munudau nid oedd arwydd o fywyd yn weledig; ond yn mhen enyd agorai ei llygaid, ac o'r diwedd ymadferodd fel ag i allu cymeryd ychydig dameidiau o *beef*, dychwelodd ei nherth, ac unwaith yn rhagor

yn mlaen â ni yn wrol ar ein taith. Ceisiwn loni y fintai drist â gobeithion yr oeddwn yn mhell o'u mwynhau fy hunan. Am y waith gyntaf, yr oeddwn agos yn barod i drosglwyddo fy hun i anobaith. Newynu yn y diffaethwch, oedd y dynged a dremiai yn fy ngwynebau i a'r eiddof. Eithr eto unwaith, "cyfyngder dyn oedd cyfleusdra Duw."

Nid aethem yn mhell, ac oddeutu tri yn y prydnhawn, mi dybiaf, ydoedd, pan ganfyddem ryw bersonau yn dynesu attom, ac heb fod yn mhell. Ar unwaith yr oeddym ar ein gwyliadwriaeth, oblegid braidd y gallem dybio mai cyfeillion oeddynt. Wedi teithio ychydig gamrau, gwelwn mai Indiaid oeddynt, gyda beichiau ar eu hysgwyddau; ac mor agos oeddynt, fel, os yn elynol, mai ofer fyddai ceisio dianc rhagddynt. Felly yn mlaen â mi yn eon tuag attynt, nes ein dyfod i'w hymyl. Yr oeddynt â'u hwynebau tua'r llawr gan eu beichiau, ac ni chodasent eu llygaid hyd yn bresenol; a phan wnaethant felly, edrychasant arnaf mewn dull dychrynedig am foment, ac yna, gydag oernad arbenig, troasant o amgylch, gan redeg mor fuaned ag y gallent. Yr oedd o honynt dri neu bedwar, a pha beth a ofnid ganddynt nis gallwn ddyfalu. Nid oes amheuaeth nad oeddynt wedi dychrynu; clywem eu hoernad gwyllt a pharhaol, fel y rhedent, am filldir neu ragor. Ofnai fy ngwraig hefyd, a meddyliai nad oeddynt ond yn rhedeg yn ol i gasglu rhagor o gwmni, ac yna y deuent i'n llofruddio, a hi fynai droi yn ol. Dywedais wrthi eu bod yn ddigon lluosog i wneud hyny heb help, pe buasent yn dewis; a chyda golwg ar droi yn ol, fy mod wedi cael llawer gormod ar y

ffordd o'n hol, ac mai peth dirmygus fyddai ein bod yn rhedeg o bob tu. Os oeddynt hwy yn ewyllysgar i redeg ymaith, minnau hefyd i'w dilyn. Nyni a'u dilynasom, ac yn ebrwydd y swn a beidiodd. Fel yr elem rhagom, canfyddem Indiaid yn ysbio arnom o'r tu hwnt i'r coedydd, ac yn brysio o'r golwg os tybient ein bod yn edrych arnynt. Yn fuan daethom hyd at eu *wigwams*, a gwelem Indiad hardd ac ardderchog yr olwg arno yn sefyll, gyda'i freichiau yn mhleth, yn disgwyl ein dynesiad yn mlaen. Ymddangosai mai efe oedd y penaeth; ac ar ol ein cyfarch yn foesgar, buan y canfu mai bodau dynol oeddym; yna llefarai wrth ei ddynion ieuainc, y rhai oeddynt ar wasgar o'i ddeutu, gan orchymyn iddynt ddyfod i mewn, a rhoi i fyny eu hofnau ynfyd. Yn awr, ymddangosai mai cywreingarwch oedd drechaf. Yr oedd ar bob un eisieu cyffwrdd â'r plant, y rhai oeddynt mor ochelgar a phetris, oherwydd eu hir arosiad yn y coedydd; ac fel y cilient ymaith gydag ychydig gri o arswyd, neidiai yr Indiad hefyd yn ol, fel pe yn meddwl y gwnaent ei frathu. Pa fodd bynag, yn mhen ychydig amser hwy ddeallent pa le yr oeddym yn myned, a pheth oedd arnom eisieu; yna hwy wnaent i fyny ein hangenion, porthent ni yn haelfrydig, a rhoddent i ni *wigwam* gysurus i orphwys ynddi dros nôs. Y dydd nesaf, ail-gychwynem i'n taith, wedi cael sicrwydd gan yr Indiaid nad oeddym ond oddeutu pum' milldir ar hugain yn unig oddiwrth y llyn. Anfonasant rai o'u dynion ieuainc i nodi allan y fan lle yr oeddym i droi ymaith, ac ymadawsant oddiwrthym gyda chymaint o garedigrwydd ag oedd yn bosibl.

Wrth fyned yn groes i'r rhan hwnw o Ohio yn agos i'r llyn, lle y mae gwastadedd eang i'w gael, daethom i fan a orlifid gan ffrwd, yr hon yr elai y ffordd yn groes iddi. Rhydiais hi yn gyntaf gyda chynorthwy pawl, er cael allan ei dyfnder, ac yna, gan gymeryd y plant ar fy nghefn, y ddau leiaf yn gyntaf, yna y lleill, un ar y pryd, ac yn olaf fy ngwraig, ac felly llwyddais i'w dwyn oll yn ddyogel drosodd. Erbyn y pryd hwn, yr oedd y croen wedi gwisgo ymaith oddiar fy nghefn, braidd mor bell bob ffordd ag y cyrhaeddai y *knapsack*. Treuliwyd un noswaith yn rhagor yn y coedydd, ac yn ystod y boreu dilynol daethom allan ar y gwastadedd eang, di-goed, a orweddai i'r de a'r gorllewin o ddinas Sandusky. Yr oedd tai y pentref yn llawn yn y golwg. Oddeutu milldir oddiwrth y llyn, cuddiais fy ngwraig a'r plant yn y llwyni, ac ymweithiais yn mlaen. Tynwyd fy sylw gan dŷ ar y chwith, rhwng pa un a llong hwylio fechan, y gwelwn nifer o ddynion yn symud yn ol ac yn mlaen gyda bywiogrwydd mawr. Dynesais tuag attynt yn benderfynol, a chyn braidd i mi ddod yn ddigon agos i'w glywed, gwaeddai cadben y *schooner* allan, "Holo, ddyn! a oes arnoch eisieu gwaith?" "Oes, syr," gwaeddwn innau. "Dowch yn mlaen, dowch yn mlaen; rhoddaf i chwi swllt yr awr. Rhaid i ni fyn'd allan gyda y gwynt hwn." Wedi fy nyfod yn agos, dywedai, "O! nis gellwch weithio; yr ydych wedi cloffi." "Oni allaf?" meddwn innau; ac mewn munud gafaelais mewn sachaid o ŷd, a dilynais y fintai gan ei dywallt i'r *hold*. Cymerais fy lle yn y rhestr o weithwyr yn nesaf at ddyn du, a dechreuais

ymddyddan gydag ef yn ebrwydd. "Pa mor bell ydyw i Canada?" Taflodd olwg ryfedd arnaf, ac mewn munud gwelwn ei fod yn gwybod y cyfan. "Eisieu myned i Canada? Deuwch gyda ni, ynte. Dyn braf yw ein cadben. Yr ydym yn myned i Buffalo." "Buffalo; pa mor bell yw y lle hwnw o Canada?" "Oni wyddoch, ddyn? Dim ond yn groes i'r afon." Yn awr agorais fy meddwl yn rhydd iddo, a dywedais wrtho am fy ngwraig a'm plant. "Siaradaf â'r cadben," eb efe. Gwnaeth felly, ac yn union cymerodd y cadben fi o'r neilldu, a dywedodd, "Mae y doctor yn dweyd fod arnoch eisieu myned i Buffalo gyda'ch teulu." "Oes, syr." "Wel, oni ddeuwch gyda mi?" oedd ei ateb tirion. "Dywed y doctor fod genych deulu." "Oes, syr." "Lle yr ydych yn aros?" "Oddeutu milldir yn ol." "Pa mor hir y buoch yma?" Attebais, wedi moment o betruso, "Newydd ddyfod ydym." "Dowch, fy nghyfaill da, dywedwch yr oll yn nghylch y peth. Yr ydych yn rhedeg ymaith, onid ydych?" Gwelais ei fod yn gyfaill, ac agorais fy nghalon iddo. "Pa mor hir y cymer i chwi fod yn barod?" "Byddwch yma yn mhen haner awr, syr?" "Wel, ewch ymaith i'w cyrchu." Ymaith â mi; ond cyn fy mod wedi rhedeg rhyw ddeg a deugain o droedfeddi, efe a'm galwai yn ol. "Arhoswch," eb efe; "ewch yn mlaen â'r gwaith o gael yr ŷd i mewn. Pan yr awn allan, paraf i'r llestr orwedd rhyngddi a'r tir, gyferbyn â'r ynys acw, ac anfonaf gwch i'ch cyrchu. Y mae yn y dref islaw i ni haid o ddalwyr caethion rheolaidd, a gallent ddrwgdybied pe dygech eich tylwyth allan o'r coed liw dydd." Gweithiais

yn mlaen gydag ewyllys. Yn fuan, yr oedd y dau neu y tri chant bwsieli o ŷd i mewn, yr *hatches* wedi eu sicrhau i lawr, yr angor wedi ei godi, a'r hwyliau yn y gwynt.

Yr oeddwn yn gwylio y llestr gyda dyddordeb angerddol fel y gadawai y lle y buasai yn cael ei llwytho ynddo. Ymaith yr elai o flaen yr awel rydd. Yn barod hi ymddangosai tu hwnt i'r lle y cytunai y cadben iddi orwedd tua'r tir, ac eto yn mlaen yr oedd hi yn cyflymu. Suddai fy nghalon ynof; mor agos i waredigaeth, ac yn ymyl hyn i gael gwywo fy ngobeithion, ac eto fy nhaflu ar fy adnoddau fy hun! Teimlwn iddynt fod yn gwneud gwawd o'm trueni. Suddasai yr haul i orphwyso, ac ymnewidiai porphor ac aur y gorllewin i fod yn welw a thywyll. Yn ddisymwth, pa fodd bynag, fel y tremiwn gyda chalon flinderog arni, troai y llestr o amgylch tua'r gwynt, ysgydwai ei hwyliau, a safai heb ysgogi. Ryw foment yn rhagor, gollyngid cwch i lawr o'r pen ol iddi, a chyda rhwyfiadau sefydlog gweithiai tua'r pwynt ar ba un y safwn. Teimlwn fod awr fy rhyddhad wedi dyfod. Yn mlaen y deuai, ac mewn deng munud o amser, tarawai yn hyfryd yn erbyn y traeth.

Neidiai fy nghyfaill du a dau o'r morwyr allan, a chychwynasom ar unwaith i ymofyn fy ngwraig a'm plant. Er fy nychryn, yr oeddynt wedi myned o'r lle y gadawswn hwynt ynddo. Wedi fy ngorchfygu gan ofn, meddyliais iddynt gael eu darganfod a'u cludo ymaith. Fel yr oeddwn ar fin anobeithio, pa fodd bynag, aethum ar draws un o'm plant. Yn ddychrynedig oherwydd fy hir absenoldeb, rhoddasai

fy ngwraig, fel yr ymddengys, y cwbl i fyny fel yn golledig, a thybiai fy mod wedi syrthio i ddwylaw y gelyn. Pan y clybu fy llais, yn gymysgedig âg eiddo eraill, meddyliai fod y rhai oeddynt wedi fy nal yn fy arwain yn ol i ddangos iddynt fy nheulu, ac yn mawredd ei dychryn ceisiasai guddio ei hun. Cefais waith caled i'w boddloni. Yr oedd ein gwaith yn ymguddio a phryderu am gymaint o amser yn peri erbyn hyn ei bod yn amheus o bawb; ac mor fawr oedd ei therfysg mewnol dros amser fel yr oedd yn analluog i ddeall beth a ddywedwn, ac elai rhagddi mewn rhyw wyllt-lesmair o drallod ac ofn. Yr oedd hyn, pa fodd bynag, drosodd yn fuan, a gwnelai caredigrwydd fy nghymdeithion lawer tuag at hyrwyddo y mater.

Yn awr yr oeddym ymaith yn nghyfeiriad y bâd. Ychydig amser oedd yn ofynol i ni ddodi i mewn ein *baggage*—nid oedd genym ddim, yn wir, ac yr oedd hyn yn gyfleusdra. Plygai y dynion eu cefnau wrth rwyfo gydag ewyllys, a chyfeirient yn sefydlog at oleuni oedd yn hongian wrth hwylbren y llong. Yr oeddwn yn molianu Duw yn fy enaid. Fel y cyrhaeddem y *schooner*, croesawid ni gan dair o fanllefau calonog, a byth hyd ddydd fy marwolaeth nid annghofiaf floedd y cadben —*Scotchman* oedd efe—" Coom up on deck, and clop your wings and craw like a rooster; you're a free nigger as sure as you're a live mon." Troai y llestr o amgylch, ymdaflai y gwynt i'w hwyliau, fel pe buasai yn cydgyfranogi o'r teimlad cyffredin—y dwfr a sïai ac a ymdonai oddeutu ei hochrau. Yr oedd dyn ac anian, a mwy na'r cwbl, teimlwn fod

Crewr dyn ac anian, yr hwn a anadla gariad i'r galon ac a wna y gwyntoedd yn weinidogion iddo, gyda ni. Ymgodai fy hapusrwydd y noswaith hono ar adegau i boenusrwydd pendant. Wedi fy nad-ewynu gan y fath gyfnewidiad sydyn o eisieu a pherygl i'r fath garedigrwydd a dyogelwch bendigedig, yr oeddwn yn wylo fel plentyn.

Yr hwyr nesaf cyrhaeddem Buffalo, ond yr oedd yn rhy hwyr i groesi yr afon y noswaith hono. "Chwi welwch y coed acw," ebe y cadben mawrfrydig ei galon boreu dranoeth, gan gyfeirio at lwyn a welid yn y pellder, "y maent yn tyfu ar ddaear rydd; ac mor fuan ag y tery eich traed ar y tir acw, chwi fyddwch yn *ddyn*. Y mae arnaf eisieu eich gweled yn myned i fod yn ddyn rhydd. Yr wyf yn dlawd fy hun, ac nid oes genyf ddim i'w roddi i chwi; hwylio y llestr am gyflog yr wyf— ond mynaf eich gweled drosodd. Yma, Green," eb efe, wrth y porth-was, "am ba faint y cymerwch y dyn hwn a'i deulu drosodd—nid oes ganddo arian?" "Tri swllt." Yna cymerodd ddoler allan o'i logell, ac a'i rhoddodd i mi. Byth nid annghofiaf yr ysbryd yn mha un y llefarai. Rhoddodd ei law ar fy mhen, a dywedodd, "Chwi fyddwch yn ddyn da, oni fyddwch?" Teimlwn ffrydiau o deimlad yn rhedeg i lawr mewn modd trydanol o'm pen i'm traed. "Byddaf," meddwn innau; "defnyddiaf fy rhyddid yn deilwng; rhoddaf fy enaid i Dduw." Safai, gan chwyfio ei het, fel y gwthiem ymaith i fyned am y lan arall. Bendithied Duw ef! Bendithied Duw ef yn dragywyddol! Amen!

Boreu yr 28ain o Hydref, 1830, ydoedd, pan y

tarawai fy nhraed gyntaf ar dir Canada. Bwriais fy hun i lawr, ymdreiglais yn y tywod, codais ddyrneidiau o hono i'w cusanu, dawnsiais o amgylch, fel yr oeddwn yn ngolwg llawer ag oeddynt bresenol yn debyg i wallgofddyn. "Rhyw greadur gorphwyllog ydyw," ebe un Colonel Warren, yr hwn a ddigwyddai fod yn y lle. "O! na, Meistr, oni wyddoch chwi? Yr wyf yn rhydd!" Torai allan i floeddio chwerthin, "Wel, erioed o'r blaen ni wybum am ryddid yn gwneud i ddyn ymdreiglo yn y tywod, fel yna." Er hyny, nis gallwn reoli fy hun. Yr oeddwn yn cofleidio ac yn cusanu fy ngwraig a'm plant, ac awn yn mlaen yn yr un dull hyd nes i'r iâs doreithiog gyntaf o deimlad fyned heibio

---

## PENNOD XIV.

### GOLYGFEYDD A CHARTREF NEWYDD.

DYN TLAWD MEWN GWLAD DDYEITHR.—DECHREU DOD I FEDDIANT O EIDDO.—AIL-DDECHREU PREGETHU.—Y BECHGYN YN MYNED I'R YSGOL.—BETH ROES YNOF DDYMUNIAD I DDYSGU DARLLEN. —DYDD O WEDDIO YN Y COED.

NID oedd llawer o amser i'w golli, hyd yn nod mewn gorlawenydd, ar y foment dra rhyfedd hon. Yr oeddwn yn ddyeithr-ddyn mewn gwlad ddyeithr, ac ar unwaith rhaid oedd i mi edrych am nodded a chynhaliaeth. Cefais lety am y noswaith, a'r boreu nesaf, dechreuais chwilio y wlad am rywbeth i ymgynal wrtho. Ni wyddwn ddim am y wlad na'r bobl, ond cadwn fy llygaid a'm clustiau yn agored, gan wneud y cyfryw ymofynion ag a ganiatâi cyfleusdra. Clywais yn ystod y dydd am un Mr. Hibbard, yr hwn a breswyliai ryw chwech neu saith milldir oddiyno. Yr oedd yn ddyn cyfoethog yn nghyfrif pobl y lle hwnw; yr oedd ganddo fferm fawr, ac arni amryw fân deiau, y rhai a osodai efe i'w weithwyr. Aethum ato yn uniongyrchol, er nad oedd y cymeriad a roddid iddo gan y cymydogion, mewn un modd, yn drwyadl dda. Ond meddyliais nad oedd, fe ddichon, fymryn gwaeth na'r rhai yr arferaswn eu gwasanaethu, ac y gallwn

fyned rhagof gydag ef, os gwnai gwaith gonest a ffyddlawn ei foddloni. Cefais hyd iddo yn y prydnhawn, a tharewais fargen gydag ef am waith. Gofynais os oedd yno rhyw dŷ lle y caniatâi i mi fyw ynddo. Dywedodd, "Oes," ac arweiniodd fi i rywfath o hen dŷ o un uchder llofft, ac i'r rhan isaf o ba un y torasai y môch i mewn, gan ei wneud, fel yr ymddangosai, yn orphwysle iddynt am dymor. Er hyny, yr oedd yn dŷ, a throais y môch allan, gan ddechreu ei lanhau ar gyfer derbyn i mewn denantiaid amgenach. Gyda chynorthwy rhaw a *shovel*, ynghyda dwfr a *mop*, cefais y llawr i gyflwr gweddol erbyn haner nôs, ac nid cyn hyny y bu i mi orphwyso oddiwrth fy llafur. Y dydd nesaf, dygais y gweddill o'r Hensons, yr unig ddodrefn oedd genyf, *i'm tŷ;* ac er nad oedd yno ond muriau a lloriau moelion, yr oeddym oll mewn cyflwr o foddhad uchel—chwarddai fy ngwraig, a chydnabyddai ei fod yn well na chaban o goed gyda llawr pridd. Erfyniais am wellt gan Mr. Hibbard, a chan ei gyfyngu â darnau o goed yn nghonglau yr ystafell, gwnaethum o hono welyau tair troedfedd o drwch, ar y rhai y gorphwysem yn ardderchog wedi ein blinderau hirfeithion.

Yr oedd prawf arall nad oeddwn yn ei ddisgwyl yn fy aros. Mewn canlyniad i'r holl deithio a bod allan yn mhob tywydd, clafychodd fy ngwraig a'r plant oll; ac nid heb berygl eithafol y bu iddynt ddianc gyda'u heinioes.

Cafodd fy meistr allan yn fuan fod fy llafur o fwy o werth iddo nag eiddo y rhai yr arferai efe eu hurio; ac fel yr enillais ei ffafr mewn canlyniad, ac

y cymerai ei wraig hoffder at fy ngwraig innau, buan y daethom i feddianu rhai o gysuron bywyd, tra yr oedd y prif angenrheidiau, ymborth a thân, yn ein meddiant yn helaeth. Arosais gyda Mr. Hibbard am dair blynedd, weithiau yn gweithio ar gyfranau, ac weithiau am gyflog; a llwyddais yn yr ysbaid i bwrcasu amryw fôch, buwch, a cheffyl. Fel hyn, gwellhâi fy sefyllfa yn raddol, a theimlwn na fu fy ymdrechion, a'r aberthau a wnaethwn er mwyn rhyddid, ddim yn ofer. Ac ni fuasai fy egniadau i ddiwyllio fy hun ac eraill, mewn pethau pwysicach nag ymborth a dillad, ychwaith ym ddieffaith. Fel y bu i un o'm cyfeillion o Maryland ddigwydd dyfod i'r gymydogaeth, ac yn clywed fy mod i yma, efe a ofynai a fyddwn byth yn pregethu yn awr, a thaenai y clod a gawswn mewn lleoedd eraill am fy noniau yn y pulpud. Ni ddywedaswn ddim fy hun, ac nid oeddwn yn bwriadu dweyd dim yn nghylch ddarfod i mi erioed fod yn gweinyddu yn y ffordd hono. Awn i'r cyfarfodydd gydag eraill, pan y cawn gyfle, a mwynhawn dawelwch y Sabbath pryd nad oedd cynulliad i'w gael. Nis gallwn wrthod llafurio yn y maes hwn, pa fodd bynag, pan ar ol hyny y'm cymhellwyd i wneud felly; a mynych o'r pryd hwn allan y gelwid arnaf, nid gan bobl dduon yn unig, ond gan bob dosbeirth o'm deutu—y cymharol ddysgedig, yn gystal a'r rhai gresynol eu hanwybodaeth—i lefaru wrthynt yn nghylch eu dyledswydd, eu cyfrifoldeb, a'u bywyd anfarwol; yn nghylch eu rhwymedigaethau iddynt eu hunain, eu Gwaredwr a'u Creawdydd.

Gwn yr ymddengys yn ddyeithr i lawer, fod dyn

mor anwybodus, anabl i ddarllen, ac wedi clywed can lleied yn nghylch crefydd a mi, yn naturiol a datguddiedig yn gallu pregethu yn gymeradwy i bersonau oeddynt wedi mwynhau manteision mwy na mi fy hun. Nis gallaf ei esbonio ond yn unig drwy gyfeiriad at waith ein Gwaredwr yn cydmaru teyrnas nefoedd i blanhigyn a allai darddu o hedyn heb fod yn fwy na hedyn mwstard, a chyrhaedd eto y fath faintioli fel y gall adar y nefoedd ddyfod ac ymgysgodi rhwng ei ganghenau. Nid gwybodaeth yw crefydd yn gymaint a doethineb; a gwnaiff sylw ar yr hyn a gymer le o'r tu allan, a myfyrdod ar yr hyn a gymer le o fewn i galon dyn, roddi iddo fwy o dyfiant mewn gras nag a ddychymygir gan aiddgar ymlynwyr wrth gredöau, neu ffrostgar ddilynwyr Crist, y rhai a'i galwant Ef, "Arglwydd, Arglwydd," eithr heb wneud y pethau a orchymyn Efe.

Bu Mr. Hibbard yn ddigon da i roddi i'm bachgen hynaf, Tom, ddau chwarter o ysgol, at y rhai yr ychwanegwyd rhagor gan yr ysgol-feistr o'i garedigrwydd ei hun, fel y dysgodd fy machgen ddarllen yn llithrig a da. Yr oedd yn fantais fawr, nid yn unig iddo ef, ond i ninnau; canys arferwn gael ganddo ddarllen llawer i mi o'r Beibl, yn enwedig ar foreuau Sabbathau, pan fyddwn yn myned i bregethu; a gallwn yn hawdd gofio ychydig adnodau, neu bennod, drwy ei glywed ef yn eu darllen allan.

Un Sabbath hyfryd yn yr haf, cyfodais yn foreu, a gelwais arno ddyfod a darllen i mi. "Yn mha le y darllenaf, fy nhad?" "Yn rhywle, fy mab," meddwn innau, canys ni wyddwn pa fodd i'w

gyfarwyddo. Agorodd ar Salm 103, "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef;" ac fel y darllenai yr ymdywalltiad prydferth yma o ddiolchgarwch, a glywn yn awr am y waith gyntaf, toddodd fy nghalon ynof. Gelwais i'm côf, gyda yr holl gyflymdra y mae meddwl yn alluog o hono, holl rediad fy mywyd, ac fel y cofiwn y peryglon a'r cystuddiau y gwaredodd yr Arglwydd fi allan o honynt, ac y cymharwn fy nghyflwr presenol â'r hyn a fuasai, gorlifai nid yn unig fy nghalon ond fy llygaid hefyd, ac nis gallwn attal na chuddio y teimlad a'm gorchfygai. Y geiriau â pha rai y dechreua ac y dybena y Salm, "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd," oedd y cyfan oedd arnaf eisieu, neu a allwn ddefnyddio, er mynegi llawnder fy nghalon ddiolchgar. Wedi gorphen, troai Tom ataf, a gofynai, "Fy nhad, pwy oedd Dafydd?" Gwelsai fy nghyffro, ac ychwanegodd, "Mae yn ysgrifenu yn brydferth, onid yw?" ac yna ail-ofynai ei gwestiwn. Yr oedd yn gwestiwn nad allwn mewn un modd ei atteb. Ni chlywswn erioed son am Dafydd, eithr ni allwn feddwl am gydnabod fy anwybodaeth wrth fy mhlentyn fy hun. Felly attebais, gan osgoi y mater, "Yr oedd ef yn wr Duw, fy mab." "Yr wyf yn tybied felly," eb efe, "ond y mae arnaf eisieu gwybod rhywbeth yn rhagor am dano. Lle yr oedd ef yn byw? Beth oedd ef yn wneud?" Fel yr elai rhagddo i'm cwestiyno, gwelais mai ofer oedd ceisio dianc, ac felly dywedais wrtho yn onest na wyddwn. "Paham, fy nhad," eb efe, "oni ellwch chwi ddarllen?" yr hwn oedd yn ofyniad gwaeth na'r llall; ac os oedd ynwyf

unrhyw falchder ar y pryd, tynodd y cwbl allan o honof yn dra buan. Cwestiwn uniongyrchol ydoedd; felly dywedais wrtho ar unwaith nas gallwn. "Paham na fedrech?" eb efe. "Oherwydd na chefais erioed gyfleusdra i ddysgu, na neb i'm hyfforddi." "Wel, chwi ellwch ddysgu yn awr, fy nhad." "Na, fy mab, yr wyf yn rhy hên, ac nid oes genyf ddigon o amser. Rhaid i mi weithio ar hyd y dydd, onidê ni chaech ddigon i fwyta." "Ond chwi allech wneud y nôs." "Ie, ond 'does neb i'm dysgu. Nis gallaf fforddio i dalu i neb am wneud; wrth gwrs, nis gall neb wneud hyny am ddim." "O! fy nhad, *gwnaf fi eich dysgu.* Gwn y gallaf wneud. Ac yna, chwi fyddwch yn gwybod cymaint yn rhagor, fel y byddwch yn alluog i siarad yn well a phregethu yn well." Yr oedd y creadur bychan mor ddifrifol, fel nad oedd modd ei wrthsefyll; eithr anhawdd yw desgrifio y teimladau cythryblus oedd ynof wrth glywed y fath gynygiad yn dyfod o'r fath bwynt. Boddheid fi gan yr argyhoeddiad y byddai i'm plant gael manteision na fwynheais i erioed; ond nid poenedigaeth fechan oedd i mi feddwl am gael fy addysgu gan fy mab ieuengaidd. Eto, effeithiai uchelfrydedd a gwir ddymuniad am ddysgu, er mwyn y daioni a wnelai i'm meddwl fy hun, i orchfygu y cywilydd, a chytunais i wneud y cynyg. Eithr ni chyrhaeddais y cyflwr hwn o feddwl ar unwaith.

Cynhyrfwyd fi yn fawr gan yr ymddyddan fu rhyngwyf â Tom, yn gymaint felly fel na allwn ymgymeryd â phregethu y diwrnod hwnw. Siomwyd y gynulleidfa, a threuliais y Sul mewn adfy-

fyrdod unigol yn y coedydd. Yr oeddwn yn rhy gythryblus gan luosowgrwydd fy meddyliau i ddychwelyd adref i giniaw, a threuliais yr holl ddydd mewn dirgel fyfyrdod a gweddi, gan ymdrechu tawelu fy hun, ac adnabod fy ngwir sefyllfa. Nid anhawdd oedd gweled mai anwybodaeth dwfn oedd fy mhrif anhawsdra, ac y dylaswn ddefnyddio pob cyfleusdra i oleuo fy meddwl. Dechreuais gymeryd gwersi gan Tom yn uniongyrchol, o ganlyniad, a dilynais yn mlaen felly bob nôs wrth oleuni tân pinwydd, neu risgl *hickory*, canys dyna yr unig oleuni a allwn fforddio. Elai wythnosau heibio, ac yr oedd fy nghynydd mor araf fel y digalonai Tom braidd, ac arferai ymollwng i gysgu rai prydiau, a chwynfan ychydig uwchben fy nylni, a siarad â mi yn dra thebyg i fel y sieryd ysgolfeistr â bychan ystyfnig, nes y dechreuais ofni y byddai i'm hoedran, a mi yn agos i ddeng mlwydd a deugain, ynghyda'm diffyg ymarferiad i graffu ar y fath linellau bychain, y lludded dyddiol, a'r goleu aneglur, fod yn attalfeuon effeithiol i mi byth ddod yn fedrus yn y gelfyddyd o ddarllen. Eithr dyfalbarhad Tom a'r eiddof finnau a orfu o'r diwedd, ac yn ystod y gauaf mi ddysgais ddarllen ychydig yn wirioneddol.

Yr ydoedd, a byth wedi hyny fe fu yn gysur mawr i mi fod wedi gwneud y cyrhaeddiad hwn; er iddo beri i mi amgyffred yn well y dyfnder erchyll o anwybodaeth i ba un y cawswn fy suddo dros fy holl fywyd blaenorol. Gwnaeth i mi hefyd deimlo yn fwy dwfn a chwerw y gorthrwm dan ba un y buaswn yn ymboeni ac yn gruddfan, a natur lethiadol a chreulawn pa un nid oeddwn yn ei amgyffred, nes i mi gael

allan i ryw fesur oddiwrth ba beth yr oeddwn wedi cael fy nghadw yn ol. Yr un pryd, gwnelai i mi fod yn fwy pryderus nag o'r blaen am wneud rhywbeth er gwared a derchafu y rhai a ddyoddefent yr un drygau ag a oddefais innau, ac na wyddent mewn gwirionedd pa mor ddiraddiol ac anwybodus oeddynt.

## PENNOD XV.

### BYWYD YN CANADA.

CYFLWR Y BOBL DDUON YN CANADA.—TAITH YMCHWILIADOL.—APPELIAD AT Y WLADWRIAETH.—GWELLIANTAU.

WEDI i oddeutu tair blynedd fyned heibio, gwellheais fy sefyllfa drachefn drwy fyned i wasanaethu at foneddwr o'r enw Riseley, preswyl yr hwn nid oedd ond ychydig filldiroedd yn unig o bellder. Yr oedd o feddwl mwy derchafedig na Mr. Hibbard, ac o alluoedd rhagorach. Yn y lle hwn dechreuais fyfyrio mwy a mwy ar amgylchiadau y bobl dduon, y rhai eisoes oeddynt led luosog yn y frodir hon. Nid myfi oedd yr unig un a ddiangasai o'r Taleithiau, ac a ymsefydlasai yn y lle cyntaf y daethent iddo yn Canada. Yr oedd amryw ganoedd o bobl dduon yn y gymydogaeth, ac yn llawenydd cyntaf eu gwaredigaeth, gwelwn eu bod yn byw mewn ffordd a arweiniai i ychydig neu ddim cynydd mewn diwylliant. Boddlawn oeddynt i gael cynyrchion eu llafur at eu rheolaeth eu hunain, ac heb fod ganddynt awyddfryd at, neu amgyffrediad o'r hyn oedd yn rhwydd o fewn eu cyrhaedd, pe buasent ond yn ei wybod. Yn gyffredin gweithient ar diroedd rhai eraill am gyflog, heb eto freuddwydio am ddyfod yn feddianwyr annibynol eu hunain. Yn

fuan, daeth i fod yn amcan mawr genyf i'w deffroi i ystyriaeth o'r manteision oeddynt o fewn eu cyrhaedd; a chan y gwelai Mr. Riseley yn glir uniondeb fy ngolygiadau, a'i fod hefyd yn ewyllysgar i gyd-weithredu â mi yn yr ymgais i'w gwneud yn gyffredinol adnabyddus yn mhlith y bobl dduon, fe ganiataodd i mi alw cyfarfodydd yn ei dŷ i'r rhai a adweinid fel yn mhlith y rhai mwyaf deallgar a llwyddianus o'n dosbarth ni Yn y cyfarfodydd hyn, ystyriem a dadleuem y pwnc nes yr oeddym oll o'r un meddwl; a chytunwyd, gan y deg neu'r deuddeg o honom a ymgynullent yn nghyd, y byddai i ni roi allan ein henilliadau ar dir, ac ymgymeryd â'r dasg—yr hon, er nad yn un ysgafn yn sicr, eto a'n gwobrwyai yr fuan am ein llafur—o ymsefydlu ar wyllt-diroedd y gallem eu galw yn eiddo i ni ein hunain, a lle y byddai pob coeden a dorem, a phob bwsiel o ŷd a godem, yn perthyn i ni ein hunain; mewn geiriau eraill, lle y gallem sicrhau holl fuddion ein llafur ein hunain.

Am ddau gant o flynyddoedd a rhagor, y mae manteision y fath gwrs o weithredu wedi bod yn arddangosedig gan y bobl y rhai drwy hyny a gyrhaeddasant nodwedd annistrywiedig am yni, anturiaeth, a hunan-ymddibyniad. Yr ysbryd ymroddedig hwn oedd yr un yr ewyllysiwn ei weithio i feddyliau fy nghydgaethion gynt, os yn bosibl; ac ni chedwid fi oddiwrth y dasg gan yr amgyffrediad o'r cyferbyniad dirfawr yn eu holl arferion a'u nhodwedd, yr hyn a gynyrchasid gan faith oesau o ryddid a chaethiwed, gweithgarwch a segurdod, annibyniaeth ac ymddarostyngiad Fy

nghymdeithion a gydunent â mi, a phenderfynasom ddethol rhyw fan allan o'r llawer a gynygid i'n dewisiad, lle y gallem ymffurfio yn drefedigaeth, codi ein cnydau ein hunain, bwyta ein bara ein hunain, a bod, mewn gair, yn feistri i ni ein hunain. Pennodwyd fi i archwilio y wlad, nes cael lle y byddwn yn foddlon ymfudo iddo fy hunan; a dywedent oll yr aent gyda mi, pa bryd bynag y ceid lle felly. Cychwynais gan hyny yn niwedd haf y flwyddyn 1834, a theithiais ar draed yr holl oror eang ag sy' rhwng llynoedd Ontario, Erie, a Huron. Pan ddaethum i'r diriogaeth sydd i'r dwyrain o Lyn St. Clair ac Afon Detroit, tarewid fi yn gryf gan yr ystyriaeth ei bod yn fwy ffrwythlawn a rhagorol, i'n hamcanion ni, nag unrhyw le arall a welswn. Penderfynais mai hwn fyddai y lle; a mynegais felly, ar fy nychweliad, i'm cymdeithion dyfodol. Yr oeddynt, pa fodd bynag, yn ddoeth ochelgar, ac anfonasant fi ymaith eto yn yr haf, fel y gallwn ei gweled ar dymorau gwahanol o'r flwyddyn, a bod yn fwy abl i farnu am ei manteision. Ni chefais un rheswm i newid fy marn; ond ar fy ngwaith yn myned yn mhellach tua chwr uchaf Llyn Erie, darganfyddais ddarn helaeth o dir yn perthyn i'r Llywodraeth, yr hwn, am rai blynyddau, a gawsai ei ganiatau i un Mr. McCormick ar delerau neillduol, ac yntau drachefn a'i hardrethai i ymsefydlwyr ar y cyfryw delerau ag a allai ef gael. Cynygiai y tir hwn gan ei fod wedi ei glirio yn barod ryw fanteision at godi cnydau yn uniongyrchol, nad oeddynt i gael eu cau allan o ystyriaeth gan bersonau mor gyfyngedig eu hadnoddau a ni.

Penderfynasom fyned yno yn gyntaf, am ryw hyd o amser, ac â chynyrch yr hyn a enillem yno i brynu tiroedd ar ol hyny yn Dawn. Y cynllun hwn a ddilynwyd, ac ymsefydlodd rhyw ddwsin neu ragor o honom ar y tiroedd hyny yn y gwanwyn dilynol, a chasglasom ryw gymaint drwy y cnydau gwenith a thybacco a godasid genym.

Cefais allan cyn hir nad oedd McCormick wedi cadw at delerau ei rodd, ac felly nad oedd efe yn meddu hawl i'r ardreth a godai oddiar y sefydlwyr. Cynghorwyd fi gan Syr John Cockburn, yr hwn y dygais y mater ger ei fron, i appelio at yr awdurdodau gwladol am ymwared. Gwnaethom felly; ac er i McCormick drwy gynorthwy ei gyfeillion allu ein gorchfygu am un flwyddyn, eto, llwyddasom y flwyddyn nesaf, yn ddilynol i ail appeliad, a chaem ein rhyddhau oddiwrth bob ardreth ar ol hyny cyhyd ag y byddem yn aros. Eto, nid ein tir ein hunain ydoedd; gallai y llywodraeth, er peidio gofyn ardreth, osod y tir ar werth unrhyw amser, ac yna gallem, yn ol pob tebyg, gael ein gyru ymaith gan brynwyr mwy goludog, gyda cholled lwyr am ein holl welliantau, ac heb le yn ddarparedig i encilio iddo. Eglur ydoedd mai gwell, ac yn hollol felly, oedd i ni brynu cyn i gydymgais ddechreu, a chadwem hyn yn gyflawn yn ein meddyliau yr holl amser yr arosem yno. Buom yn y sefyllfa yma am chwech neu saith mlynedd, a'r holl amser hwn cynyddai y bobl dduon yn dra chyflym o'n deutu, gan ymledu yn brysur hefyd i'r sefydliadau mewnol a'r trefydd mawrion. Yr ymfudiad o'r Unol Daleithiau ydoedd ddi-dor, a

dygwyd rhai drosodd, fel yr wyf yn ewyllysgar i addef, drwy fy ngwybodaeth a'm cydgynorthwy; ac äf rhagof yn awr i roddi hanes byr o'r cynlluniau a'r gweithrediadau a drefnwyd genyf er rhyddhad rhai o'm brodyr, yr hwn hanes mi obeithiaf a brofa yn ddyddorol i'r darllenydd.



## PENNOD XVI.

### ARWAIN CAETHION I CANADA.

CYDYMDEIMLAD A'R CAETHION.—JAMES LIGHTFOOT.—FY NGHENADAETH GYNTAF I'R DE.—CWMNI O FFOEDIGION O KENTUCKY.—YN DDYOGEL GARTREF.

NIS gall caethwas byth deimlo ei gyflwr diraddiol a diobaith yn briodol tra yn aros yn y cyfryw sefyllfa. Wedi profi o honof fendithion rhyddid, troai fy meddwl beunydd at y rhai y gwyddwn eu bod yn gruddfan mewn caethiwed, ac aethum yn mlaen ar unwaith i gymeryd mesurau i ryddhau cynifer ag a allwn. Trwy arfer egni, meddyliwn y gallai niferi ddianc fel y gwnes innau, os caent ryw gyfarwyddyd ymarferol pa fodd i weithredu.

Bum unwaith mewn cyfarfod mawr yn Fort Erie, yn mha un yr oedd lluaws o bobl dduon yn bresenol. Wrth bregethu, ceisiwn wasgu arnynt bwys y rhwymedigaethau yr oeddynt danynt: yn gyntaf, i Dduw, am eu gwaredigaeth; ac yna, yn ail, i'w cyd-ddynion, i wneud yr oll a allent er dwyn eraill o gaethiwed. Yr oedd yn y gynulleidfa ddyn o'r enw James Lightfoot, yr hwn oedd o dymher fywiog iawn, ac a gawsai ei ryddid drwy ffoi i Canada, ond na feddyliasai yn deilwng am ei deulu a'r cyfeillion

a adawsid ar ol ganddo hyd nes y clywodd fi yn siarad, er ei fod ei hun yn rhydd er ys cryn bum' mlynedd. Pa fodd bynag, dygwyd y mater adref at ei galon y diwrnod hwnw. Pan derfynodd y gwasanaeth, deisyfai gael ymddyddan â mi, yr hyn a ganiateais yn llawen; a gwnaed trefniad gyda golwg ar gael ymddyddan pellach ar yr un pwnc yn mhen wythnos ar ol hyny. Yna hysbysodd fi o ba le y daethai, hefyd i bwy y perthynai, ac iddo adael o'i ol dad a mam anwyl, tair chwaer a phedwar o frodyr; a'u bod yn byw ar fin yr afon Ohio, heb fod yn mhell o ddinas Maysville. Dywedai na welodd erioed ei ddyledswydd tuag atynt mor glir a diamheuol a'r adeg hono, a phroffesai barodrwydd i gydweithredu mewn unrhyw fesurau a ellid ddyfeisio er eu rhyddhau. Yn ystod cyfnod byr ei ryddid llwyddasai i grynhoi ychydig eiddo, yr oll o ba un, meddai, a gyflwynid ganddo yn llawen er cario allan y mesurau hyny; canys nid oedd iddo orphwysfa, ddydd na nos, wedi y cyfarfod rhag-grybwylledig.

Nid oeddwn abl y pryd hwnw i gynyg beth oedd oreu i'w wneud, ac felly yr ymadawsom; ond yn mhen ychydig ddyddiau daeth eilwaith i'm gweled ar yr un neges. Yn canfod ing ei galon ar ran ei geraint, cydsyniais i ddechreu ar y dasg flinderog a pheryglus o ryddhau y rhai a gerid i'r fath raddau ganddo. Gadewais fy nheulu fy hun yn nwylaw y Goruchaf, a dechreuais y daith yn unig, ar draed, a theithiais yn y modd hwn oddeutu pedwar cant o filldiroedd. Eithr yr Arglwydd a roddodd i mi nerth digonol i'r anturiaeth. Aethum drwy Daleithiau

New York, Pennsylvania, ac Ohio—taleithiau rhyddion, fel eu gelwid—croesais yr afon Ohio i fyned i Kentucky, ac o'r diwedd cefais ei gyfeillion yn y lle a ddesgrifiasid ganddo.

Yr oeddwn yn gwbl ddyeithr iddynt, ond cymeraswn gyda mi gof-arwydd bychan o'u brawd a aethai ymaith, pa un a adnabuwyd ganddynt ar unwaith; ac yr oedd hyn i wneud yn hysbys iddynt iddo fyned i Canada, gwlad y rhyddid, a'i fod yn awr wedi anfon cyfaill i'w cynorthwyo i ddianc o'r lle yr oeddynt. Creai hyn gyffro nid ychydig. Ond yr oedd ei rieni wedi myned mor bell mewn blynyddoedd, fel nad allent ymgymeryd â'r lludded; gan ei chwiorydd yr oedd nifer o blant, ac nis gallent hwy deithio; ei bedwar brawd a'i nai oeddynt ddynion ieuainc ac yn ddigon abl i'r daith, ond yr oedd y meddwl am adael eu tad, a'u mam, a'u chwiorydd yn rhy boenus; a hwy hefyd a'i hystyrient yn annyogel i wneud yr ymgais y pryd hwnw, rhag ofn i gyffro a thristwch eu cyfeillion eu bradychu; felly gwrthodent fyned yr amser hwnw, ond addawent fyned yn mhen y flwyddyn os dychwelwn i ymofyn am danynt.

Cydsyniais â hyn, ac yna aethum rhwng deugain a haner can' milldir i ganol Kentucky, wedi clywed fod yno barti mawr yn barod i ymdrechu dianc, dim ond iddynt gael arweinydd i gyfarwyddo eu hysgogiadau. Teithiwn y nôs a gorphwyswn y dydd, ac o'r diwedd cyrhaeddais swydd Bourbon, y lle y gobeithiwn gael y bobl hyn. Wedi oediad ryw wythnos, a dreulid i ymdrin yn nghylch cynlluniau, gwneud trefniadau, a thalu sylw i faterion eraill,

cefais fod yno oddeutu deg ar hugain wedi eu casglu o wahanol daleithiau, y rhai a deimlent duedd i wneud yr ymgais. O'r diwedd, ar nôs Sadwrn, cychwynasom. Hawddach dyfalu na desgrifio ing yr ymadawiad; oblegid, yn eu hamgylchiad hwy, gadawai gwyr eu gwragedd, mamau eu plant, a phlant eu rhieni. Ar yr olwg gyntaf, ymddengys hyn yn rhyfedd, ïe, yn annghredadwy; ond pan gymerom i ystyriaeth y ffaith eu bod unrhyw amser yn agored i gael eu hysgar, drwy gael eu gwerthu i'r rhai a elwir yn "*nigger-traders*," a'r tebygolrwydd y cymerai y fath ddigwyddiad le, yr wyf yn meddwl y peidia a chyffroi unrhyw syndod.

Llwyddasom i groesi yr afon Ohio mewn dyogelwch, a chyrhaeddasom Cincinnati y drydedd noswaith wedi ein hymadawiad. Yma ceisiasom gynorthwy, ac ar ol aros dros amser byr i orphwyso, cychwynasom am Richmond, Indiana. Tref yw hon a sefydlasid gan Grynwyr, ac yno ni gawsom gyfeillion yn wir, y rhai ar unwaith a'n cynorthwyasant ar ein ffordd, heb golli amser; ac wedi taith anhawdd, a barhâi am bythefnos, drwy y diffaethwch, cyrhaeddasom Toledo, Ohio, tref ar lan de-orllewinol Llyn Erie, ac yno cymerasom ein *passage* am Canada, pa un a gyrhaeddwyd genym yn ddyogel. Yna aethum gartref at fy nheulu, gan gymeryd gyda mi ran o'r cwmni mawr hwn—y gweddill i ddyfod o hyd i'w cyfeillion oeddynt wasgaredig mewn trefydd eraill—yn berffaith foddhaol gyda'm hymddygiad yn y mater, yn gymaint ag y caniatawyd i mi fod yn offeryn i ryddhau cynifer o'm cyd-greaduriaid.

## PENNOD XVII.

### AIL DAITH AR Y RHEILFFORDD DAN-DDAEAROL.

CAWOD O SER.—KENTUCKIAID.—YSTRYW.—RHAGLUNIAETH.—ARWEINIAD YN GROES I'R AFON MIAMI GAN FUWCH.—CYRHAEDD CINCINNATI.—UN O'R CWMNI YN CAEL EI GYMERYD YN GLAF.—EI ADAEL I FARW.—CYFAROD "CYFAILL."—DYN GWYN TLAWD.—ARGRAFF DDYEITHR.—UNWAITH ETO YN CANADA.

Arosais gartref, gan weithio ar fy fferm, hyd y cynhauaf nesaf, sef o gylch yr amser yr addawswn gynorthwyo er adfer i ryddid gyfeillion James Lightfoot, person a gyffroisai fy nghydymdeimlad yn nghyfarfod Fort Erie. Yn ddilynol i'r addewid, cychwynais etto ar fy nhaith bell i Kentucky.

Ar fy ffordd, cymerodd y digwyddiad rhyfedd hwnw le a elwid y gawod fawr o oruchion. Ymddangosai y nefoedd wedi ei thori i fyny i linellau o oleuni a sêr syrthiedig. Cyrhaeddais Lancaster, Ohio, am dri o'r gloch yn y boreu; cefais y pentref wedi cyfodi i fyny, y clychau yn canu, a'r bobl yn gwaeddi, "Y mae dydd y farn wedi dyfod!" Meddyliais y gallai fod felly; ond teimlwn fy mod ar neges dda, a cherddais drwy y pentref, gan adael y bobl ddychrynedig o'm hol. Parhâi y sêr i syrthio hyd nes i oleuni yr haul ymddangos.

Ar ol cyrhaedd Portsmouth, yn Nhalaeth Ohio, cefais ddiangfa gyfyng rhag cael fy adnabod, a'm dal. Mynychid y lle gan nifer o bobl Kentucky, y rhai oeddynt gwbl barod i amheu dyn du, os gwelent unrhyw beth anarferol o'i ddeutu. Cyrhaeddais Portsmouth yn y boreu, a disgwyliais am yr agerfâd hyd ddau yn y prydnhawn, fel na byddai i mi gyrhaedd Maysville hyd nes iddi dywyllu. Tra yn y dref, gorfodid fi i arfer ystryw, mewn trefn i osgoi cael fy nghwestiyno gan y Kentuckiaid a welwn yn y lle. I'r amcan hwn, ceisiais ddail wedi crino, rhoddais hwynt mewn lliain, a rhwymais hwnw o amgylch fy wyneb, nes ei fod yn cyrhaedd bron hyd at fy llygaid, a chymerwn arnaf fod mewn cymaint o ofid yn fy mhen a'm dannedd fel nas gallwn lefaru. Yna hongiais o ddeutu y pentref hyd amser yr agerfâd hwyrol, fel ag i gyrhaedd Maysville yn y nôs. Cyferchid fi yn ystod fy arosiad byr yn Portsmouth gan lawer a ymddangosent yn bryderus i gael rhyw fanylion oddiwrthyf gyda golwg ar pwy oeddwn, lle yr oeddwn yn myned, ac i bwy y perthynwn. Yn wyneb eu hymofynion lluosog, ni wnawn ond yn unig ysgwyd fy mhen, swnio allan attebion aneglur, a gweithredu fel nad allent gael dim o honof; a thrwy y ddichell hon, osgoais bob canlyniadau annymunol. Aethum ar fwrdd yr agerfâd, a chyrhaeddais Maysville, Kentucky, yn hwyr, o gylch pythefnos o amser wedi i mi adael Canada.

Wedi glanio, digwyddodd i mi ragluniaeth ryfedd. Yr ail berson a gyfarfyddais yn yr heol oedd Jefferson Lightfoot, brawd i'r James Lightfoot a grybwyllwyd yn flaenorol, ac un o'r cwmni a addawsai

ddianc os gwnawn ei gynorthwyo. Mynegai eu bod o hyd yn benderfynol o wneud yr ymgais; cytunent gychwyn y nos Sadwrn canlynol, a dechreuwyd gwneud parotoadau at y daith heb oedi. Y rheswm dros ddewis nos Sadwrn ar yr achlysur hwn a'r un blaenorol oedd, am na ofynid iddynt weithio y dydd nesaf, a bod caniatad iddynt ymweled â'u teuluoedd; ac felly, na chollid mo honynt hyd yr amser arferol iddynt ymddangos ar y maes, a byddent hwy erbyn hyny ryw bedwar ugain neu gan' milldir oddiyno. Yn y cyfamser, rhaid oedd i mi gadw fy hun yn guddiedig y dydd, ac yna eu cyfarfod y nôs er gwneud y trefniadau angenrheidiol.

Gan ofn cael eu dal, cychwynasant ymaith heb ganu yn iach i dad na mam; ac yna, mewn trefn i attal y gwaedgwn rhag dilyn ar ein hol, cymerasant feddiant o fâd, ychydig islaw y ddinas, a gwnaethom ein ffordd i lawr yr afon. Er nad y ffordd agosaf, eto yr un ddyogelaf ydoedd.

Yr oedd yn bum' milldir a thriugain o Maysville i Cincinnati, a meddyliem y gallem gyrhaedd y ddinas hono cyn toriad dydd, ac yna cymeryd y cerbyd am Sandusky. Dechreuodd ein cwch suddo cyn i ni fyned haner y ffordd, a braidd y diangasom rhag boddi; yn rhagluniaethol, pa fodd bynag, daethom i dir cyn i'r cwch fyned i'r gwaelod. Yna cymerasom gwch arall, ond attaliwyd ni oherwydd yr oediad yma rhag cyrhaedd Cincinnati mewn pryd at y cerbyd. Gwawr-iai y dydd arnom pan oeddym oddeutu deng milldir oddiar y ddinas, a gorfodid ni i adael ein cwch rhag ofn y delid ni. Amser pryderus oedd hwn. Pa fodd bynag, yr oeddym wedi myned mor bell fel

y gwyddem nad oedd berygl i ni gael ein darganfod gan y cŵn, a meddyliem fyned ar ein traed. Pan gyrhaeddem o fewn saith milldir i Cincinnati, daethom at yr afon Miami, ac nis gallem gyrhaedd y ddinas heb ei chroesi.

Yr oedd hyn yn attalfa fawr i ni, canys ymddangosai y dwfr yn ddwfn, ac ofnem ofyn benthyg cwch rhag i hyny beri ein dwyn i'r ddalfa. Aethom yn gyntaf i fyny, ac yna i lawr i'r afon, gan geisio cael lle cyfleus i groesi, ond methu a wnaethom. Yna dywedais wrth fy nghwmni, "Fechgyn, gadewch i ni fyned i fyny gyda yr afon, a threio eto." Cychwynasom, ac ar ol myned oddeutu milldir gwelsom fuwch yn dyfod allan o goed gan fyned at yr afon, megys ar fedr yfed o honi. Yna dywedais, "Fechgyn, gadewch i ni weled beth y mae y fuwch am wneud, dichon y dywed ryw newyddion wrthym." Dywedais hyn i godi eu hysbrydoedd i fyny. Attebodd un o honynt yn sarug braidd, "O! nis gall y fuwch yna siarad;" ond cymhellais hwynt eilwaith i ddyfod yn mlaen. Arosodd y fuwch hyd nes ein dyfod o fewn ychydig gamrau iddi; yna hi gerddodd i'r afon, ac a aeth yn syth drwodd heb nofio, yr hyn a barodd i mi sylwi, "Yr Arglwydd a anfonodd y fuwch yna i ddangos i ni lle i groesi yr afon." Bob amser wedi hyny, ymddangosai y digwyddiad hwn i mi yn un tra rhyfeddol.

Wedi teithio yn mlaen gyda chryn frys, yr oeddym yn llythyrenol drochedig gan chwys, er ei bod yn bwrw eira ar y pryd; a meddyliai fy nghymdeithion y byddai yn dra pheryglus i ni fyned drwy y dwfr, yn enwedig gan fod llawer o rêw yn

yr afon. Ond gan ei fod yn gwestiwn o fywyd neu farwolaeth i ni, nid oedd amser i ymresymu; gan hyny yn mlaen â mi—dilynent hwythau yn betrusgar. Cyn i ni gyrhaedd i haner yr afon, daliwyd yr ieuengaf o'r Lightfoots gan dynhâd llym o'r aelodau, yr hyn a attaliai ragor o hunan-ymegniad o'i du ef; yn ganlynol, ei gario a wnaed y gweddill o'r ffordd. Ar ol arfer rhwbiad parhaus, ymadferodd i fesur, ac yn mlaen â ni i'n taith.

Cyrhaeddasom Cincinnati oddeutu unarddeg boreu dydd Sul, yn rhy ddiweddar am y cerbyd y dydd hwnw; ond wedi dyfod o hyd i ryw gyfeillion, ymguddiasom hyd nôs Lun, pan yr adgychwynem i'n taith hirfaith a blinderus, drwy laid, gwlaw, ac eira, tua Canada. Yr oeddym wedi gwneud y pellder yn fwy o ryw gan' milldir drwy fyned allan o'n ffordd i fyned i fysg y Crynwyr. Yn ystod ein mynediad drwy y coedydd, cymerwyd y bachgen y cyfeiriwyd atto o'r blaen yn ddifrifol o glaf, a rhaid oedd i ni ei ddwyn ar ein cefnau; eithr yn cael fod y dull hwn o'i gludo yn dra phoenus, gweithiasom fath o ferfa ddwylaw gyda ein crysau a'n llaw-gadachau, wedi eu cyfleu yn groes i bolion. Erbyn hyn daethom i Dalaeth Indiana, fel y gallem deithio y dydd cyhyd ag na adawem y coedydd. Parhai yr un claf i waethygu, ac ymddangosai iddo ef a ninnau y byddai i angau yn fuan ei ryddhau o'i ddyoddefiadau. Erfyniai gan hyny am gael ei adael mewn rhyw fan neillduedig i farw ei hunan, am yr ofnai y gallai yr oediad a achlysurid, drwy fod yn rhaid ei gario ef drwy y coed, arwain i atafaeliad yr holl gwmni. Gyda llawer iawn o hwyrfrydigrwydd y cydsyniem â'i

ddeisyfiad, a dodasom ef i orwedd mewn lle cysgodol, gyda disgwyliad llawn y byddai i angau yn fuan roddi terfyn ar ei boenau. Amlygai y truan barodrwydd i gyfarfod yr ymdrech olaf mewn gobaith am fywyd tragywyddol. Trist, yn wir, oedd yr ymadawiad; a chydag anhawsdra y gwnaem rwygo ein hunain ymaith.

Nid aethem, pa fodd bynag, fwy na dwy filldir ar ein taith, pan y safodd un o frodyr y bachgen oedd ar drengu yn sydyn, gan fynegi ei fod yn analluog i fyned yn mlaen tra yn meddu ymwybodolrwydd ei fod wedi gadael i'w frawd drengu, i fod yn ysglyfaeth, yn ol pob tebyg, i fleiddiaid rheibus. Yr oedd ei dristwch mor fawr fel y penderfynasom ddychwelyd, ac o'r diwedd cyrhaeddasom y fan, lle y cawsom y bachgen truan yn marw yn ol pob ymddangosiad, ac yn gruddfan allan gyda phob anadliad weddi tua'r nef. Nis gall geiriau ddesgrifio y gorfoledd a deimlai y Lightfoots pan welsant eu brawd cystuddiedig unwaith yn rhagor; mewn gwirionedd, hwy ddawnsient gan lawenydd. Yn ebrwydd, ymbarotoem i ailddechreu ein taith goreu y gallem, ac unwaith yn rhagor treiddiasom yn mlaen i'r goedwig. Ar ol teithio ychydig yn mlaen, gwelem ar y ffordd, heb fod yn mhell oddiwrthym bedrolfen yn dynesu, a phenderfynais yn uniongyrchol fynu gwybod ai ni ellid cael rhyw gynorthwy drwyddi.

Llwyddais i fyned o amgylch cyn dod i'r ffordd, fel ag i ddangos fy mod megys yn teithio o gyfeiriad gwahanol i'r un yr oedd y bedrolfen yn ei gymeryd. Pan ddaethum i ymyl y gyriedydd, dymunais iddo

ddydd da. Gofynai, "Pa le yr wyt ti yn myned?" "I Canada." Gwelwn ei wisg, clywn ei *tydi* a'i *ydwyt*, a phenderfynais mai Crynwr ydoedd. Gan hyny, mynegais yn eglur iddo ein holl amgylchiadau. Parodd i'w geffylau aros yn y fan, ac amlygodd ei ewyllysgarwch i'n cynorthwyo. Dychwelais i'r fan lle yr oedd fy nghymdeithion yn disgwyl am danaf, a buan yr arweiniais hwynt i bresenoldeb y Crynwr. Yn ddiattreg wedi iddo ganfod y dyoddefydd, cyffrowyd ef hyd ddagrau; ac yn ddioedi troes benau ei geffylau yn nghyfeiriad ei gartref, er ei fod wedi bwriadu myned i farchnad bell, gyda llwyth o gynyrch i'w werthu. Gorlenwid ein calonau â llawenydd gan y derbyniad a roddid i ni gan deulu y Crynwr; ac ni ellir desgrifio y teimladau gorfoleddus â pha rai yr edrychai y dynion druain ar eu brawd, yn yr amgylchiadau ffafriol yr oedd ynddynt yn bresenol.

Arosasom gyda y teulu dedwydd hwn dros y nôs, a derbyniasom oddiwrthynt bob caredigrwydd. Trefnasid fod i'r bachgen aros ar ol, hyd nes, drwy fendith Duw, y byddai iddo ymwellhau. Yn garedig, hwy roddasant i ni sachaid o *biscuit* a *joint* o gig, ac yna troem ein gwynebau unwaith yn rhagor yn nghyfeiriad Llyn Erie.

Ar ol teithio rhyw gymaint ar y ffordd, canfyddem ddyn gwyn yn dynesu, ond gan mai ei hunan yr ydoedd, ac ar ei draed, nid arswydem ei bresenoldeb. Troai allan iddo fod yn aros yn y De, ac er yn ddyn gwyn rhydd, yr oedd ei feistri wedi bod yn ceisio gweinyddu cosb arno; yn ad-daliad am yr hyn y bu iddo arfer gerwindeb, yr hyn a'i gwnelai yn ang-

enrheidiol iddo ffoi ar unwaith. Yn awr cyd-deithiem yn nghwmni ein gilydd, a chawsom fod ei bresenoldeb o wasanaeth arbenig i ni er ein gwared o ddwylaw y caeth-helwyr y rhai oeddynt yn awr ar ein hol, ac yn wir awchus am grafangu eu hysglyfaeth. Yr oeddym wedi penderfynu cyrhaedd y llyn erbyn boreu dranoeth, er ei fod ddeugain milldir o ffordd; teithiasom, gan hyny, drwy y nôs.

Fel yr oedd y dydd ar dori, cyrhaeddasom dafarn oedd ar fin y ffordd, ac yn agos iawn i'r llyn; ac wedi i'n cydymaith gwyn guro i fyny y gwestywr, efe a archodd hwylio boreufwyd i chwech o bersonau. Tra y parotoid ein boreufwyd, ymollyngasom i gysgu, yn flinedig gan ein hymegniad hir-barhaol.

Yn union gyda bod ein boreufwyd yn barod, tra yn haner-cysgu ac yn haner-effro, daethum i deimlo yn gryf fod perygl yn agos, a bod yn rhaid i ni ar unwaith adael y tŷ. Gwesgais ar fy nghymdeithion fy nilyn yn uniongyrchol, yr hyn yr oeddynt yn dra anewyllysgar i'w wneud; ond gan iddynt addaw ymostwng i mi, rhoddasant i fyny o'r diwedd i'm deisyfiad. Enciliasom i'r buarth oedd wrth ochr y tŷ, a dechreuasom olchi ein hunain â'r eira, ag oedd yn awr i fyny hyd at ein penliniau. Yn ebrwydd clywem swn traed meirch, yr hyn ar unwaith a'n rhybuddiai o'r angenrheidrwydd i ddirgelu ein hunain. Ymgripiem o'r tu ol i dŵr o goed oedd yn ymyl, ac oddiyno yr oeddym yn cael golwg glir ar y ffordd. Wedi dyfod at y drws, safai y marchogwyr yn sydyn, a dechreuasant wneud eu hymofynion; adwaenodd fy nghymdeithion y pleidiau ar unwaith, a sibrydent hefyd eu henwau wrthyf.

Moment ddifrifol oedd hon, a thystiolaethai uchel guriadau eu calonau yr arswyd dychrynllyd â pha un y sylwent ar yr olygfa. Pe buasem o fewn y tŷ, daliesid ni yn anocheladwy. Elai ein cyfaill gwyn i'r drws o flaen gwr y tŷ, a chadwai ei sefyllfa. Holwyd ef ar unwaith gan y caeth-helwyr, pa un a welsai ef ryw negroaid yn myned y ffordd hono. Dywedodd ei fod yn tybied iddo weled rhai; gofynid am eu nifer, pryd y dywedwyd mai oddeutu chwech, a'u bod yn teithio yn nghyfeiriad Detroit; ac y gallent fod rai milldiroedd yn mlaen ar y ffordd. Rhoddasant y ffrwyn yn ebrwydd i'w ceffylau, y rhai oeddynt flinedig iawn, drwy iddynt fod yn teithio drwy y nôs; er hyny ymaith â hwy, ac yr oeddynt allan o olwg yn fuan. O'r diwedd anturiasom i'r tŷ, pryd y difâwyd y boreufwyd genym mewn ysbaid annghredadwy fyr o amser. Wedi yr hyn a gymerasai le, daeth y gwestywr i fod yn adnabyddus o'n hamgylchiadau, ac ar unwaith cynnygiodd ein trosglwyddo yn ei gwch ei hun drosodd i Canada. Dedwydd ddigon oeddym o gael y fath gynnygiad a hwnw, a buan yr oedd hwyl wen ein bâd bychan wedi ei lledu i'r gwynt, a ninnau yn ymlithro ar ein ffordd, gyda thir rhyddid yn llawn yn y golwg. Ni all geiriau ddesgrifio y teimladau a brofid gan fy nghymdeithion fel y nesâent i dir—eu mynwesau yn chwyddo gan lawenydd annhraethadwy, fel y safent i fyny ar feinciau y cwch, yn angerddol barod i neidio yn mlaen, fel y gallent heb oedi moment gyffwrdd â thir pobl ryddion. Ar ol cyrhaedd y làn, dawnsient ac wylent gan lawenydd, a chusanent y ddaear ar yr hon y troediasant gyntaf, nid mwyach yn GAETH—ond yn RHYDD.

Wedi i ychydig fisoedd fyned heibio, cefais y mwynhad, un boreu Sabbath dedwydd, o gofleidio y bachgen truan a adawsem dan ofal tirion y Crynwr, nid yn guriedig yr olwg arno mwyach, ond yn gryf ac iachus, ac yn cael ei gylchynu gan ei deulu. Fel hyn, cyflawnwyd fy llawenydd, a lluosog y deuai arnaf fendithion y rhai oedd unwaith ar ddarfod am danynt. Un o brif ffynhonellau fy hapusrwydd yw gwybod ddarfod i mi drwy foddion tebyg i'r rhai a gofnodwyd uchod fod yn offerynol i waredu cant a deunaw o fodau dynol allan o grafanc greulawn ac annhrugarog y caethfeddianydd.

Yn fuan wedi i Mr. Frank Taylor, perchenog y Lightfoots, golli ei gaethion, y rhai yr wyf newydd ddesgrifio eu ffoedigaeth, efe a glafychodd, nes dyfod yn llwyr ddyryslyd; pan wellhaodd, perswadiwyd ef gan ei gyfeillion i ryddhau y gweddill o deulu y Lightfoots, yr hyn o'r diwedd a wnaeth, ac wedi ysbaid byr o amser hwy gyfarfuant oll yn Canada, lle yn awr y preswyliant.



## PENNOD XVIII.

### GARTREF YN DAWN.

EIN CYFLWR YN CANADA.—YMDRECHION AR RAN FY MHOBL.—Y PARCH. MR. WILSON.—CYNGHORFA O BOBL DDUON.—YSGOL LAW-WEITHFAOL.

NI chefais fod ein llwyddiant yn cynyddu gyda ein nifer. Yr oedd y mwynhad a deimlai y caethion yn eu rhyddid yn unig yn eu gwneud, ar y cyntaf, yn foddlon ar gyfran oedd yn llawer is na'r gyfran a allasent hwy gyrhaedd. Mynych yr arweiniai eu hanwybodaeth hwynt i wneud bargeinion anfuddiol, a mynych y gwnaent rentu tir gwyllt ar delerau cyfyng, a rhwymo eu hunain i glirio nifer pennodol o aceri. Ond erbyn y byddent wedi eu clirio ac yn gymhwys i driniaeth, a'r bryd-les wedi rhedeg allan, deuai y tir-berchenogion yn mlaen i gymeryd meddiant o'r tir a gliriesid, a chodi arno gnwd ysblenydd. Cychwynai y tenantiaid eilwaith, ar yr un fath delerau, yn ol pob tebyg, ac heb fod fymryn gwell yn mhen deng mlynedd nag yn y dechreu. Ffordd arall drwy ba un y collent fuddion eu llafur oedd drwy godi dim ond tybacco, pris uchel pa un oedd yn lled brofedigaethus, a'i feithriniad hefyd yn orfaeliaeth yn eu dwylaw, am nad oedd un dyn gwyn yn ei ddeall, nac yn abl i

gydymgeisio â hwy o gwbl. Ond fel canlyniad o hyn, nid oedd ganddynt ddim ond tybacco i'w werthu, a buan yr oedd braidd ormod o hono yn y farchnad; a chodai pris gwenith, tra yr oedd eu nwyf hwy yn isel; oblegid hyny hwy gollent yr oll y dylasent fod wedi eu cadw, yn y budd a roddent i'r masnachwr am ei ŷd a'i nwyddau amrywiol.

Gwelwn effaith y pethau hyn mor glir, fel nas gallwn lai nag ymdrechu cael gan fy nghyfeillion a'm cymydogion hefyd ei weled; ac ymroddais o ddifrif i'r gwaith o ddarlithio ar bwnc y cnydau, cyflog, a budd, yn hollol fel pe buaswn wedi fy nwyn i fyny iddo. Daliwn ar yr angenrheidrwydd iddynt godi eu cnydau eu hunain, cadw eu cyflogau eu hunain, a sicrhau buddion eu llafur eu hunain, gan ddefnyddio y fath resymau plaen ag a ymgynygient i'm meddwl, a'r rhai oedd mor eglur i'w hamgyffrediad hwy ag ydoedd i minnau. Gwnawn hyn yn bur agored; a mynych y byddai fy nghynulleidfa yn gynwysedig o'r masnachwyr hyny, enillion afresymol y rhai oddiar bersonau y ceisiwn eu lleihau, ond mantoliad budd y rhai nas lleiheid yn y pen draw, am y byddai ganddynt gymaint yn fwy o bersonau i fasnachu â hwy, y rhai fyddent abl i dalu iddynt swm rhesymol o arian yn mlaen-llaw, neu ei gyfwerth, ar eu holl bryniadau. Rhan dyner o'r gyfundrefn yw y pwrs; ond mi a'i triniwn mor dyner, fel y credwyf na thramgwyddai y gyfran synwyrol o'm gwrthwynebwyr naturiol wrthyf; tra y gwelai y rhai yr ewyllysiwn eu gwellhau, gan mwyaf, briodoldeb fy nghyngor, a'i gymeryd hefyd. O leiaf, y mae yn awr niferi dirfawr o ffoedigion

duon yn y rhanbarth yma o Canada, y rhai a berchenogant eu ffermydd, ac a ddygant eu plant i fyny mewn gwir annibyniaeth, gan roddi iddynt addysg elfenol dda, y rhai nid oeddynt wedi cymeryd cymaint a cham tuag at y fath ganlyniad cyn i mi ddechreu llefaru wrthynt.

Tra yn aros yn Colchester, daethum yn gydnabyddus gyda chenhadwr Cynulleidfaol o Massachusetts, o'r enw Hiram Wilson, yr hwn a gymerai ddyddordeb yn ein pobl ni, ac a dueddid i wneud a allai i ddwyn yn mlaen achos diwylliant, yr hwn oedd mor agos at fy nghalon. Cydweithredai â mi mewn llawer o ymdrechion, ac y mae ein cyd-gymdeithas wedi parhau am fwy na deng mlynedd ar hugain. Y mae wedi bod yn gyfaill ffyddlon, ac y mae etto yn parhau i ddwyn yn mlaen ei egnion pwysig, cariadlawn ar ein rhan. Yn mhlith pethau eraill, ysgrifenodd at gyfaill iddo, yr hwn oedd Grynwr, a Sais, o'r enw James C. Fuller, ac yn preswylio yn Skeneatles, New York, er ceisio ei ddwyn i deimlo dyddordeb yn llwyddiant ein poblogaeth ymdrechgar.

Llwyddodd mor bell fel yr addawodd Mr. Fuller, yr hwn oedd ar fyned i ymweled â Lloegr, i ddylanwadu ar ei gyfeillion yno, er eu cymhell i'n cynorthwyo. Daeth yn ol gyda phymtheg cant o ddoleri a danysgrifiesid er ein budd. Yr oedd yn gwestiwn mawr, pa fodd yr oedd y swm hwn, a swniai mor drystiog i lawer o'n brodyr, i gael ei ddefnyddio. Yr oedd genyf fy marn benderfynol fy hun gyda golwg ar beth oedd oreu i wneud â hwynt er ein mwyn ni oll. Ond, mewn trefn i ddyfod i derfyniad boddhaus, meddylid mai buddiol fuasai galw cynghorfa o

ddirprwywyr o bob sefydliad o eiddo y bobl dduon ag oeddynt o fewn cyrhaedd; fel y byddai i bawb weled fod y penderfyniad olaf yn cael ei gadarnhau gan bleidleisiau gonest y rhai a ystyrid gan eu cyfeillion fel y rhai galluocaf i farnu beth a gyfarfyddai anghenion ein poblogaeth. Galwodd Mr. Wilson a minnau gan hyny gyd-gynghorfa o'r fath, i gyfarfod yn Llundain, Upper Canada, ac fe'i cynhelid yn Mehefin, 1838.

Dadleuwn dros fod i'r arian gael eu defnyddio i sefydlu ysgol law-weithfaol, yn yr hon y gallai ein plant enill yr elfenau hyny o wybodaeth a ddysgir yn gyffredin mewn ysgol ramadegol. Dadleuwn y dylesid dysgu y bechgyn, yn ychwanegol, yr ymarferiad o ryw gelfyddyd beirianawl, ac y dylesid dysgu y genethod yn y gweithrediadau teuluaidd hyny ag ydynt yn ffurfio gwaith ac addurn priodol eu rhyw; ac y byddai i'r fath sefydliad nid yn unig ddwyn i fyny y rhai wedi hyny a addysgent eraill, ond y byddai iddo yn raddol ein galluogi i ddyfod yn annibynol ar y dyn gwyn am ein cynydd dealltwriaethol, fel y gallem fod am ein llwyddiant allanol. Yr oedd yn fwy angenrheidiol yn gymaint ag na chaniateid i blant y bobl dduon, mewn llawer o fanau, oherwydd rhagfarnau anorfod y trigolion, i fod yn gyfranog o fanteision yr ysgol gyffredin. Yr oedd rhyw gymaint o wrthwynebiad i'r cynllun hwn yn y gydgynghorfa; eithr yn ystod y ddadl, yr hon a barhaodd am dridiau, ymddangosai mor amlwg er mantais pawb i ddoeth-drefnu y rhodd hon fel ag i'w chadw i amcan o ddefnyddioldeb parhaol, fel y mabwysiadwyd y cynygiad o'r diwedd yn unfrydol; a

phenodwyd pwyllgor o dri i ddethol a phwrcasu tir i fod yn safle i'r sefydliad. Aelodau gweithiol y pwyllgor oedd Mr. Wilson a minnau, ac wedi teithio y wlad am lawer o fisoedd, ni allem gael lle mwy cyfaddas na'r un y buasai fy llygad arno am dair neu bedair blynedd i fod yn sefydliad parhaol, yn nhref Dawn.

Prynasom gan hyny ddau gant o erwau o dir goludog braf ar yr afon Sydenham, y rhai oeddynt orchuddiedig gan dyfiant trwchus o *walnut* a choedydd eraill, yn ol pedwar o ddoleri yr erw. Gwnaethwn fargen am ddau gant o erwau cysylltiol â'r *lot* yma ar fy nghyfrif fy hun; ac fe'm ffafriwyd gan amgylchiadau yn y fath fodd fel yr oedd yn dda gan y dyn y prynais y tir ganddo i adael i mi ei gael gyda *discount* mawr o'r pris oeddwn i dalu am dano, os rhoddwn arian iddo ar gyfer y gweddill oedd yn ddyledus arnaf. Trosglwyddais gyfran o'r fantais a ddeilliai o'r fargen hon i'r sefydliad, drwy werthu yn ei ffafr gant o erwau yn rhagor am y pris isel a roddaswn am dano.

Yn 1842 symudais gyda'm teulu i Dawn, ac fel yr oedd cryn nifer o'm cyfeillion yno yn fuan o'm deutu, a'r ysgol wedi ei sefydlu yn arosol yno, fel y meddyliem, yr oedd pwysigrwydd dyfodol y sefydliad hwn fel wedi ei benderfynu. Y mae sefydliadau eraill lawer y rhai ydynt lwyddianus; yn wir, y mae y boblogaeth ddu yn wasgaredig dros wyneb tiriogaeth nad yw lawer llai na thri chan' milldir o eangder, yn mhob cyfeiriad, ac yn rhifo dim llai, mae'n debyg, nag ugain mil o bersonau o gwbl. Edrychem ar yr ysgol, a'r meddiant o eiddo tirol gan

bersonau, fel dau foddion mawr drwy y rhai y gellid derchafu ein cenedl orthrymedig a diraddiol i fwynhau cyfranogiad yn mendithion gwareiddiad, tra nad oeddynt hyd yma ond yn unig wedi cael caniatad i fod yn gyfranog o'i gofidion a'i drygau.

Bu fy ymdrechion i'w cynorthwyo, yn mhob ffordd o fewn fy ngallu, ac i gael eraill i weithredu yr un modd, yn gyson a pharhaus. Gwnaethum lawer o deithiau i New York, Connecticut, Massachusetts, a Maine; ac yn y taleithiau hyn oll, cefais neu fe wnaed genyf lawer o gyfeillion i'r achos, yn gystal a chyfeillion personol. Derbyniais lawer o roddion haelfrydig i'm pobl, a phrofais garedigrwydd dirfawr; ond rhaid caniatau i mi gyfeirio yn neillduol at y rhoddion a dderbyniwyd o Boston—drwy y rhai y galluogid ni i godi melin lifio, ac fel hyn i ddechreu clirio ein tir o ddifrif, ac i sicrhau swm buddiol er cynhaliaeth ein hysgol—fel yn mhlith y rhai a fuont fwyaf croesawus a gwerthfawr i ni.

Arweiniodd rhai teithiau a wnaed genyf i ddigwyddion a nodiadau, y rhai a fyddant destun pennod arall i ddyfod.

## PENNOD XIX.

### GWEITHREDIADAU COEDYDDOL.

ANTURIAETH O DDIWYDRWYDD.—CAEL RHAI CYFEILLION GALLUOG YN BOSTON.—CAEL ARIAN A CHODI MELIN LIFIO.—ARWERTHIADAU COED YN BOSTON.—DIGWYDDIAD YN Y CUSTOM HOUSE.

GORCHUDDID y tir ar ba un yr ymsefydlem yn Canada gyda fforest brydferth o goedydd ardderchog o wahanol fathau. Arferai ein pobl eu tori i lawr a'u llosgi ar y llanerch, yn unig er mwyn cael gwared o honynt. Mor fynych ag y crwydrwn drwy y fforest, blinid fi wrth weled y fath wastraff, a hiraethwn am ddyfeisio rhyw foddion i droi y cyflawnder yma o gyfoeth naturiol yn arian, fel ag i wella sefyllfa y bobl.

Yn llawn o'r mater hwn, gadewais gartref ar daith o ymchwiliadaeth drwy Dalaeth New York, a New England. Cedwais fy amcanion i mi fy hun, heb yngan gair o'm bwriadau i unrhyw fôd marwol. Yn New York, cefais felinau lle yr oedd y fath ddarnau ag a lifid yn goed tân yn Canada yn cyrhaedd prisiau tra uchel. Yn New England, cefais farchnad barod i *walnut* du, coed gwynion, ac eraill brenau, o'r fath ag a geid yn gyflawnder ac a wastreffid yn Canada.

Ar ol cyrhaedd Boston, Mass., hysbysais y ffeithiau hyn a'm teimladau i foneddwyr dyngarol, â'r rhai y

daethom yn gydnabyddus. Nis gall fod yn anmhriodol i mi grybwyll enwau y boneddigion hyn, y rhai a roddasant glust mor barod i'm tystiolaethau, ac a ddangosent y fath ymddiried yn fy marn, fel ag i'm cynysgaeddu â moddion i gychwyn yr hyn a fu wedi hyny yn anturiaeth mor enillfawr.

Cyflwynodd y Parch. Ephraim Peabody fi i sylw Samuel Elliott, Ysw., yr hwn a fu mor garedig ag ymchwilio yn fanwl i'm holl arddangosiadau, ac i dynu brâs-linelliad o honynt, pa un wedi hyny a gyflwynwyd i Amos Lawrence, Ysw., ac eraill. Drwy y moddion hyn, cyfranodd amryw o brif foneddigion Boston oddeutu pedwar cant ar ddeg o ddoleri i'm cynorthwyo yn yr anturiaeth.

Gyda yr arian yma dychwelais i Canada, ac ymroddais yn uniongyrchol i adeiladu melin lifio yn Camden (Dawn, y pryd hwnw). Yr oedd y gwelliant yn y rhanbarth cylchynol yn synfawr. Dechreuai y bobl lafurio o ddifrif; yr oedd y cynydd mewn clirio a diwyllio y tir yn galonogol.

Ond wedi i barwydydd fy melin gael eu gorphen, a chael tô drosti, yr oedd fy nhrysorfa brin wedi myned. Amser profedigaethus oedd hwn. Dechreuaswn y gwaith mewn ffydd; treuliaswn yr arian yn onest, ac yn ol fy marn i, i'r pwrpas goreu; ac yn awr, a oedd yr holl anturiaeth i fethu? Dychwelais yn uniongyrchol at fy nghyfeillion oedd yn Boston. Gwrandawai Amos Lawrence, H. Ingersoll Bowditch, a Samuel A. Elliott, Yswd., arnaf etto, a rhoddent ar ddeall i mi eu bod yn fy ystyried yn ddyn gonest. Cefnogent fi yn fy anturiaeth hon, ac yr oedd cymeradwyaeth y fath ddynion fel balm i'm henaid. Rhoddasant i mi *note*, ac a'i dodasant yn y *Bank*,

drwy yr hyn y galluogwyd fi i fenthyca o gylch deunaw cant o ddoleri yn rhagor. Gyda hyn cwblheais y felin yn fuan, rhoddais i fyny y peirianwaith oedd yn ofynol, a chefais y boddhad o'i gweled mewn gweithrediad llwyddianus. Dylwn ychwanegu yma nad oedd y felin i fod yn eiddo personol i mi fy hun, ond i berthynu i'r gymdeithas, yr hon a sefydlodd ysgol law-weithfaol ragorol, lle yr addysgwyd llawer o blant ac ieuenctyd o'r ddwy ystlen. Llenwid yr ysgol yn dda gan blant duon, gwynion, a rhai Indiaid.

Wedi cwblhau yr anturiaeth hon i raddau mawr drwy fy llafur fy hun a llafur fy meibion, y rhai a gymerent ofal y felin, dechreuais ystyried yn ebrwydd pa fodd y gallwn glirio ymaith fy rhwymedigaethau arianol. Cytunais am long, a llwythais hi gyda deunaw mil o droedfeddi o goed *walnut* du rhagorol, wedi eu llifio yn ein melin, ac ymrwymai y cadben drosglwyddo y llwyth i Oswego, New York. Aethum i gytundeb gyda pharti yno i drosglwyddo yr unrhyw drachefn i Boston; ond wedi ei anfon i New York, pallai fyned âg ef yn mhellach. Yno gwnaed ymdrechion penderfynol i'm twyllo o'r coed, ond drwy gyfeillgarwch da Mr. Lawrence o Boston, yr hwn a roes i mi fodd i adlwytho y coed, llwyddais i ddwyn yr oll o'r pedwar ugain mil troedfeddi yn ddyogel i Boston, lle eu gwerthais i Mr. Jonas Chickering am bump a deugain o ddoleri dros bob mil o droedfeddi. Talodd y cynyrch yr holl dreuliau, a gallasai glirio yr holl ddyledion yr aethwn danynt; ond gwasgai fy nghyfeillion arnaf gadw rhan o'r arian at wasanaeth

dyfodol. Wedi hyny, dygais lwyth mawr arall o goed tebyg hyd yr un ffordd.

Y tymor nesaf, dygais lwyth mawr hyd yr afon St. Lawrence, pa un a ddaeth yn syth i Boston, lle, heb gynorthwy unrhyw oruchwyliwr neu drydydd parti o fath yn y byd, y telais y tollau fy hunan, y cefais y coed drwy y *Custom House*, ac y gwerthais y cyfan gyda budd mawr. Cymerodd digwyddiad bychan le wrth dalu y tollau, a roddodd i mi yn fynych ar ol hyny lawer iawn o ddifyrwch. Yr oedd Cyfraith y Caethion Ffoedig newydd gael ei phasio yn yr Unol Daleithiau, yr hyn a'i gwnelai yn drosedd i anwesu neu roddi cynorthwy i gaethwas ffoedig. Pan y cyflwynai swyddog y *Custom House* ei fil i mi am y tollau ar fy nghoed, dywedais mewn modd chwareus y gallai fe ddichon wneud ei hun yn agored i drwbl os byddai iddo ymdriniaethu â chaethwas ffoedig, ac os felly, y gwnawn ei ryddhau o'r drafferth o gymeryd fy arian. "Ai caethwas ffoedig ydych chwi, Syr?" "Ie, syr," meddwn innau, "a dichon y byddai yn well i chwi beidio â chael unrhyw drafodion masnachol â mi." "Nid oes a wnelwyf â hyny," ebe y swyddog,; "dyna eich bil. Ymddygasoch fel dyn, ac yr wyf finnau yn delio â chwi fel dyn." Mwynheais yr olygfa, ac ymddangosai fod y rhai a safent gerllaw yn ei mwynhau, a thelais iddo yr arian.

Yr wyf yn edrych yn ol ar yr anturiaeth a gofnodir yn y bennod hon gyda llawer iawn o bleser, canys dygodd y felin a adeiladwyd y pryd hwnw gyfnewidiad trwyadl i mewn yn ymddangosiad y gyfran hono o'r wlad, ac yn arferion y bobl.

## PENNOD XX.

### YMWELIAD A LLOEGR.

DYLED AR Y SEFYDLIAD.—ANTURIAETH ARIANOL NEWYDD.—LLYTHYRAU CYMERADWYAETH O LOEGR.—ANHAWSDERAU PERSONOL.—FY NGALW YN DWYLLWR.—BUDDUGOLIAETH LAWN AR Y TRALLODION HYN.

DAETH y dyddordeb a deimlwn yn yr ysgol lawweithfaol yn Dawn yn foddion i beri i mi ymweled â Lloegr. Nis gall y rhai na buont erioed â llaw yn y fath waith feddu unrhyw ddrychfeddwl am y lluaws anhawsderau cysylltiedig â'r fath anturiaeth. Er gwaethaf holl ymdrechion y gymdeithas, gorphwysai arni oddeutu saith mil a phum' cant o ddoleri o ddyled. Yn y flwyddyn 1849, galwyd cyfarfod o ymddiriedolwyr a chyfeillion, i ystyried ei sefyllfa, ac i ddyfeisio, os yn bosibl, ryw foddion i'w gwaredu. Wedi hir ddadleu ar y mater, penderfynwyd o'r diwedd ranu y *concern* yn ddwy ddosran, a'i ddodi dan ofal dau gwmni; y naill i gymeryd y felin a chyfran benodol o'r tir am bedair blynedd, a thalu holl ddyledion y sefydliad yn y cyfamser; a'r cwmni arall i gymeryd yr adeiladau eraill a'r tir, a dwyn yn mlaen yr ysgol.

Cafwyd cwmni neillduol yn ewyllysgar i gymeryd gofal yr ysgol. Ond anhawddach oedd cael un a

fyddai yn ddigon anturiaethus i gymeryd y felin am bedair blynedd yn llwythedig â dyled o saith mil a phum' cant o ddoleri.

O'r diwedd cytunais wneud hyn, a chaniatau y cymerai Mr. Peter B. Smith ran gyfartal o'r cyfrifoldeb, a thalu sylw i waith y felin. Yntau a gydsyniodd yn barod.

Penderfynais fyned i Loegr, dwyn gyda mi rai o'r engreifftiau goreu o'r estyll *walnut* duon a gynyrchai ein fferm, a'u dangos yn Arddangosfa Law-weithiol fawr y byd, a oedd ar y pryd i gael ei hagor yn Llundain, ac efallai fyned i gytundeb yno yn nghylch gwerthu coed. Yn ganlynol gadewais am Loegr, wedi yn gyntaf gael llythyrau hynod o gymeradwyol at y fath ddynion a Thomas Binney, Samuel Gurney, Arglwydd Brougham, yr Anrhyd. Abbot Lawrence, y Gweinidog Americanaidd y pryd hwnw yn Lloegr, oddiwrth y Parch. John Rolfe, o Toronto; y Prif Farnwr Robinson, Syr Allen McNab, Col. John Prince, Parch. Dr. Duffield, o Detroit; yr Anrhyd. Charles Sumner, ac Amos Lawrence, Ysw., o Massachusetts. Gan y boneddwyr rhag-grybwylledig yn Lloegr cefais y derbyniad gwresocaf, a chyflwynwyd fi yn uniongyrchol i'r gymdeithas oreu yn y deyrnas.

Gofidus iawn genyf yw gorfod gwneud unrhyw gyfeiriadau at anhawsderau personol, neu at bersonau a ddilynasant gwrs annghyfiawn ac annghristionogol tuag attaf fi neu eraill; ond nis gallaf roddi dim tebyg i olwg gywir ar y rhan hon o'm hanes heb, o leiaf, wneud cyfeiriad byr at yr anhawsderau hyn.

Cynllun rhai personau o'r cwmni a gymerent ofal yr ysgol yn ddiamheu oedd, ac yn debyg oddiar

deimladau sectaraidd annheilwng, i gael meddiant cyflawn o eiddo y gymdeithas, neu, yn sicr, i lwyr ddinystrio fy nylanwad drosti a'm cysylltiad â hi.

Er syndod mawr i mi, gan hyny, wedi i mi gyrhaedd Lloegr, ac ar ol cael fy nerbyn yn wresog gan y dynion rhag-grybwylledig, a phregethu yn mhulpudau y Parchn. Thomas Binney, Baptist Noel, William Brock, James Sherman, George Smith, a Dr. Burns, yn Llundain, a dwyn fy anturiaeth yn barod i sylw cyfran o'r cyhoedd yn Mhrydain, gwrthwynebid fi gan gylch-lythyr argraffedig, i'r perwyl a ganlyn: "Fod un a alwai ei hun y Parch. Josiah Henson yn dwyllwr; ei fod yn codi arian dan esgusion twyllodrus; na allai ddangos cred-lythyrau da; na ddefnyddid yr arian a geid ganddo yn ol ewyllys y rhoddwyr; a bod y dywededig Josiah Henson yn ddyn cyfrwys, medrus, a hyawdl, a bod yn debyg y twyllai efe y cyhoedd yn fawr." Dyrnod arw oedd hon; eithr yn ffodus yr oeddwn wedi appwyntio pwyllgor o ddeuddeg o bersonau i chwilio yn ofalus i deilyngdod fy anturiaeth, gan ddeisyf yn arbenig ar y pwyllgor hwn appwyntio is-bwyllgor o dri, a thrysorydd, i dderbyn pob ffyrling a gyfrenid gan y cyhoedd i mi, ac i'w defnyddio yn unig fel y barnent hwy yn briodol. Pennodasid y pwyllgor hwn, ac yr oedd yn gynwysedig o'r boneddigion hyn, Samuel Gurney; Samuel Gurney, Ieuaf; Samuel Morley, Ysw.; George Hitchcock, Ysw.; y Parch. James Sherman; y Parch. Thomas Binney; y Parch. John Branch, Ysgrifenydd y Gymdeithas Wrthgaethwasiol Brydeinig a Thramor; Arglwydd Ashley (yn awr Iarll Shaftesbury); George Sturge, a Thomas

Sturge. Yr is-bwyllgor o dri oeddynt, John Scobell, y Parch. John Branch, ac Eusebius Smith, y rhai a appwyntient Samuel Gurney, Ieuaf, yn drysorydd. Y mae llawer o'r enwau uchod yn adnabyddus drwy y byd.

Pan wnaed yr ymosodiad uchod arnaf, galwyd cyfarfod o'r rhai a deimlent ddyddordeb yn fy achos, a gofynwyd i'm cyhuddwr, yr hwn oedd yn y wlad, fy nghyfarfod wyneb yn wyneb.

Credwyf i'r holl anhawsdra gyfodi oddiwrth fân-deimladau o eiddigedd a achlesid, efallai, gan ddylanwadau annheilwng caethwasiaeth, ac yn gweithredu ar feddyliau agored i gael eu camarwain gan dystiolaethau gau.

Cyfarfuom o flaen cwmni o foneddigion Seisnig, y rhai a glywsant y cwbl oedd gan fy nghyhuddwr i'w ddweyd. Gofynent i mi am atteb. Ail-adroddais yn syml y ffeithiau a wnaethwn yn hysbys o'r blaen. Adgofiais iddynt fod yn rhaid i ddyn yr hwn a ymgysegra i wneud daioni ddisgwyl cael ei gamddeall, ac y bydd iddo elynion. Gelwais eu sylw at y cam-arddangosiadau a wneid o'u hamcanion hwythau gan eu gelynion. Adroddais wrthynt ddameg Crist yn nghylch y gwenith a'r efrau. Ail-ddarllenwyd fy llythyrau cymeradwyol—atteb digonol i'r haeriad fy mod yn dwyllwr.

Hwy a'm sicrhaent o'u hymddiried a'u boddhad llwyraf; eithr, er bod yn abl i glirio ymaith bob adlewyrchiad drwg oddiar fy nghymeriad, penderfynasant ar eu traul eu hunain anfon goruchwyliwr i Canada i wneud ymchwiliad llawn i'r mater, a chynghorasant fi fyned gydag ef. Yn ganlynol,

cychwynodd eu goruchwyliwr a minnau yn uniongyrchol am Canada. Yr oeddwn yn barod wedi casglu swm cyfartal i ddau gant ar bymtheg o ddoleri, pa un, wrth gwrs, a adewid yn nwylaw y trysorydd.

Galwyd cyfarfod mawr o'r rhai oll a deimlent ddyddordeb yn y mater, y cyfarfod i gael ei gynal yn y sefydliad a berthynai i'n tiriogaeth. Daeth nifer mawr yn nghyd, a'r Parch. John Rolfe, o Toronto, a lywyddai. Gwnaed archwiliad trwyadl i gofnodion y sefydliad. Gwadai awdwr y gabldraeth yn fy erbyn ddarfod iddo erioed ei wneud; profwyd fel arall i'w erbyn, a chondemnid y cam-gyhuddiadau yn unfrydol gan yr holl gynghorfa. Arosodd y goruchwyliwr yn Canada am oddeutu tri mis; a chyn ymadael anfonodd i mi lythyr, yn fy hysbysu y cawn, pa bryd bynag y gwelwn yn addas ddychwelyd i Loegr, yn nwylaw Amos Lawrence, Ysw., o Boston, bapur am arian i dalu treuliau y daith. Yn ganlynol, tua diwedd 1851, mi a ddychwelais.

Yr oedd y tir wedi ei barotoi i mi yn awr, fel y medais gynhauaf toreithiog. Talwyd holl ddyled y sefydliad mewn ychydig fisoedd, pryd y cefais fy ngalw eilwaith i Canada oherwydd salwch angeuol fy ngwraig. Cymerodd amryw ddigwyddiadau tra dyddorol le yn ystod fy arosiad yn Lloegr, y rhai y bydd yn rhaid i mi eu hadrodd mewn pennod arall.

## PENNOD XXI.

### FFAIR Y BYD YN LLUNDAIN.

FY NGHYFRANIAD I'R ARDDANGOSFA FAWR.—ANHAWSDRA GYDA YR AROLYGYDD AMERICANAIDD.—RHYDDHAD DEDWYDD.—Y LLUAWS MAWR.—GALWAD ODDIWRTH Y FRENHINES.—BATHODYN YN CAEL EI DDYFARNU I MI.

CRYBWYLLAIS yn barod mai y meddylddrych cyntaf a awgrymodd i mi y cynllun o fyned i Loegr, oedd i arddangos yn Ffair Fawr y Byd yn Llundain rai o'r engreifftiau goreu o'n pren *walnut* du, yn y gobaith yr arweiniai i'w werthiant yn Lloegr. I'r amcan hwn, detholais rai o'r byrddau goreu allan o'r llwyth a ddygaswn i Boston, y rhai y bu Mr. Chickering mor dirion a'u pacio yn briodol mewn cistiau, a'u hanfon i Loegr yn y llong Americanaidd a gludai y cynyrchion Americanaidd i'r Arddangosfa. Y byrddau a ddetholaswn oeddynt bedwar o nifer, yn engreifftiau rhagorol, o gylch saith troedfedd o hyd wrth bedair troedfedd o led, ac o ddwysedd a graen prydferth. Ar eu gwaith yn cyrhaedd Lloegr, rhoddais hwynt i gael eu llyfnhau a'u *polishio* mewn arddull Ffrengig, fel y dysgleirient yn wirioneddol megys drychau.

Y mae hanes fy nghysylltiad â Ffair y Byd ychydig yn ddigrifol. Am y digwyddai fy myrddau

gael eu cludo drosodd yn y llong Americanaidd, mynai arolygydd y ddosran Americanaidd, yr hwn oedd o Boston, i'm coed gael eu harddangos yn y ddosran hono. I hyn gwrthwynebais. Dinesydd o Canada oeddwn, yr oedd fy myrddau o Canada, ac yr oedd rhan o'r adeilad yn neillduedig at gynyrchion o Canada. Gan hyny, gwesgais ar fod i'm byrddau gael eu symud o'r ddosran Americanaidd i'r un Canadaidd. Ond yr Americaniad a ddywedai, "Nis gellwch ei wneud; mae yr holl bethau hyn dan fy rheolaeth i. Gellwch arddangos yr hyn a berthyn i chwi os dewiswch; ond nid oes un peth yma i gael ei symud fodfedd heb fy nghydsyniad i."

Yr oedd hyn yn lleithydd *(damper)* hollol i mi. Meddyliwn fod ei sefyllfa braidd yn wrthun, ac ar y pryd ymddangosai yn anmhosibl ei symud ef na'm byrddau innau.

Digwyddai awgrym dedwydd ddyfod i mi, pa fodd bynag. Meddyliais, os myn yr Yankee hwn gadw fy nodrefn i, caiff y byd wybod pwy yw eu perchenog. Yn ganlynol, cyflogais baentiwr i baentio mewn llythyrenau gwynion mawrion ar benau fy myrddau: "HWN SYDD GYNYRCH DIWYDRWYDD CAETHWAS FFOEDIG O'R UNOL DALEITHIAU, PRESWYLFOD YR HWN SYDD YN DAWN, CANADA." Gwnaed hyn yn gynar y boreu. Mewn amser cyfaddas, daeth yr arolygydd Americanaidd o amgylch, a gwelodd fi yn fy lle. Yr oedd y drem o synedigaeth â pha un y darllenai fy arysgrifen yn chwerthinus i edrych arni. Ei wyneb ydoedd ddu fel taran-gwmwl. "Edrychwch yma, syr," eb efe. "Beth, dan y nefoedd, sy' genych i fyny yn y fan yna?" "O!

nid yw hyn yna ond ychydig hysbysrwydd, er mwyn i bobl wybod pwy ydwyf." "Eithr oni wyddoch yn well na hyna? A dybiwch chwi fy mod yn myned i gael y sarhâd yna i fyny yn y fan hon?" Dechreuai y boneddigion Seisnig grynhoi o amgylch, bron ymdori gan foddhad, y ceisient ei gadw i lawr, wrth weled llid yr *Yankee*. Ni wnai hyn ond yn unig ychwanegu tanwydd i'r goelcerth. "Wel, syr," eb efe, "a dybiwch chwi i mi ddwyn y stwff yna yn groes i Fôr y Werydd am ddim?" "Ni ofynais erioed i chwi ei ddwyn drosodd am ddim. Parod wyf i dalu i chwi, ac felly y bum o'r dechreuad." "Wel, syr, gellwch ei gymeryd i ffordd, a'i gludo lle y mynoch." "O!" meddwn innau, "yr wyf yn meddwl, gan fod arnoch gymaint o'i eisieu, nad äf i'w symud; gellwch ei gael yn awr." "Na, syr; cymerwch o i ffordd!" "Erfyniwyf eich maddeuant, syr," meddwn; "pan oedd arnaf eisieu ei symud, ni chaniataech hyny; ac yn awr, o'm rhan i, caiff aros." Yn y cyfamser yr oedd y dyrfa yn mwynhau y peth, ac felly finnau. Y canlyniad fu, erbyn dranoeth, i'r byrddau gael eu symud i'w priodol le, heb ddim traul i mi; a byth ni chyflwynid i mi un bil am gludo y coed yn groes i Fôr y Werydd.

Yn yr arddangosfa aruthrol hono, derbyniai fy nghyfraniad gostyngedig innau ei ran dyledus o sylw. Cefais lawer o gydymddyddan dyddorol â phersonau yn mhlith y dyrfa braidd aneirif hono o bob cenedl dan y nef. Dichon fod fy lliw yn denu sylw; ond safai agos bawb a elai heibio, i edrych arnaf ac arnynt eu hunain, fel y caent eu

hadlewyrchu yn fy nrychau mawreddog o *black walnut.* Yn mhlith eraill, arosodd Brenhines Lloegr, Victoria, yn cael ei rhagflaenu gan ei harweinydd, a'i dilyn gan ei chwmni urddasol, i edrych arnaf fi a'm heiddo. Diosgais fy mhen, a chyferchais hi mor barchus ag y gallwn; a bu dda yn ei golwg hithau ddychwel y cyfarchiad gyda pherffaith raslonrwydd. "Ai caethwas ffoedig yw efe mewn gwirionedd?" clywais hi yn ymofyn; a'r atteb oedd, "Un felly, yn wir, ydyw; a dyna ei waith ef."

Ond er y fath ddigwyddiadau boddhaus, trymaidd y treiglai yr amser heibio. Cadwai y torfeydd anferth mewn trefn mor berffaith a theulu unigol; etto, deuai y sefyllfa yn flinderus i mi, ac nid oedd yn ddrwg genyf, fel y mynegwyd mewn pennod flaenorol, i fyned yn ol i Canada, gan adael fy myrddau ar ol i'w harddangos.

Ar fy nychweliad yn ol i Loegr, yr oedd yr Arddangosfa o hyd yn myned yn mlaen. Nid ymddangosai fod un lleihad yn y dorf. Fel dyfroedd y Mississippi fawr, yr oedd y sianel o hyd yn llawn, er fod y personau yn newid.

Ond yn mhlith yr holl arddangoswyr o bob cenedl yn Ewrop, ac o Asia, America, ac ynysoedd y môr, nid oedd cymaint ag un dyn du oddieithr fy hunan. Yr oedd yno negroaid o Affrica, wedi eu dwyn i gael eu harddangos, eithr dim negro-arddangosydd ond fy hunan. Er fod fy sefyllfa wedi cyfnewid yn rhyfedd rhagor yr hyn ydoedd yn fy mebyd a'm hieuenctyd, etto yr oedd ychydig yn bruddhaol i feddwl nad oedd fy mhobl yn cael eu cynrychioli yn helaethach yno. Daw yr amser etto, mi obeithiaf,

pan na fydd y fath sefyllfa ar bethau yn hanfodi mwyach.

Ar derfyniad yr Arddangosfa, pan ar ddychwelyd i Canada, derbyniais o Loegr gyfrol *quarto* fawr wedi ei rhwymo, yn cynwys desgrifiad llawn o'r holl wrthddrychau a ddygasid i'r Arddangosfa, enwau swyddogion yr holl bwyllgorau, *juries*, arddangoswyr, gwobrau &c., &c. Yn mhlith eraill, gwelwn fy enw fy hun yn cael ei gofnodi; ac mewn ychwanegiad, dyfarnwyd i mi *bronze medal*. Derbyniais hefyd ddarlun prydferth o'r Frenhines a'r teulu brenhinol, mor fawr a bywyd, ac amryw wrthddrychau dyddorol eraill.

Yr wyf yn mawr brisio yr arwydd-nodau hyn o anrhydedd. Llwyddais yn gyflawn yn fy nghenadaeth i Loegr, ac ymryddheais o'r ddyled a gymeraswn yn wirfoddol arnaf fy hun yn achos yr ysgol lawweithfaol. Tra yn Lloegr, caniatawyd i mi fwynhau rhai cyfleusderau rhagorol i fod yn dyst o'i chymdeithas oreu, y rhai y cynnygiaf eu hadrodd yn y bennod ddilynol.

---

## PENNOD XXII.

### YMWELIADAU A'R YSGOLIAN CARPIOG.

ARAETH MEWN CYLCHWYL YSGOL SABBATHOL.—YMGYFARFOD AG ARGLWYDD GREY.—YMGYFARFOD AG ARCHESGOB CANTERBURY, A CHINIAWA GYDAG ARGLWYDD JOHN RUSSELL, YN MHLITH DIGWYDDIADAU MAWR FY MYWYD.

TRA yn Lloegr, mynych y gelwid arnaf i siarad mewn cyfarfodydd cyhoeddus o wahanol fathau. Teimlwn ddyddordeb dwfn yn mudiad yr ysgolion carpiog, a mynych y bum yn anerch yr ysgolion, ac hefyd gyfarfodydd cyhoeddus a gynhelid yn eu ffafr. Bum yn bresenol yn y rhan fwyaf o'r cylchwyliau mawrion a gynhelid yn Mai, a gelwid arnaf i lefaru mewn llawer o honynt. Ar amryw achlysuron, gwnaethum fel y gallwn, yn Exeter Hall a manau eraill, er gwneud yn adnabyddus wir sefyllfa y caethion. Ar un achlysur, mae yn gôf genyf, yr oedd dyn rhagorol o Pennsylvania yn anerch cylchwyl Undeb yr Ysgolion Sabbathol. Ymffrostiai yn y buddion mawrion a ddeilliai o'r Ysgolion Sul yn yr Unol Daleithiau, a honai fod pob dosbeirth yn ddiwahaniaeth yn mwynhau o'u bendithion. Teimlwn dan rwymau i ddweyd yn groes iddo; ac ar ol rhoddi i'r siaradwr ychydig

gwestiynau, a attebwyd ganddo yn flo--g, dywedais wrth y cyfarfod enfawr fod corph mawr y bobl dduon yn cael eu hesgeuluso yn hollol braidd yn y Taleithiau Deheuol, ac mewn llaweroedd o fanau eu bod yn cael eu cau allan yn gyfangwbl; tra hefyd yn y rhan fwyaf o'r Taleithiau Gogleddol, nad oedd y lluaws o blant y bobl dduon yn cael ymofyn am danynt, a'u casglu yn nghyd i Ysgolion Sabbathol. Creodd hyn ychydig storm, ond effeithiai fy sylwadaeth a'm profiad personol fy hun er cario argyhoeddiad i feddyliau y bobl.

Wedi fy nwyn i sylw y cyhoedd fel hyn, daethum yn gydnabyddus â llawer o brif ddynion Lloegr. Gwnaeth Arglwydd Grey gynnygiad i mi, y buasai yn llawen genyf ei dderbyn pe buasai amgylchiadau yn caniatau. Dyna ydoedd—myned i India, ac arolygu rhyw ymdrechion mawr a wneid gan y Llywodraeth i ddwyn i mewn feithriniad cotwm yn ol y cynllun Americanaidd. Addawai fy appwyntio i swydd, gyda chyflog da. Oni buasai am fy nyddordeb gwresog yn fy anturiaeth Canadaidd, buaswn yn derbyn y cynnyg.

Un o'r digwyddiadau mwyaf boddhaus i mi yn awr edrych yn ol arno, ydoedd cyd-ymddyddan maith y caniatawyd i mi ei fwynhau gydag Archesgob Canterbury. Y mae sefyllfa gymdeithasol ddyrchafedig y dyn hwn, yr uwchaf dan y Goron, yn dra adnabyddus i'r rhai oll ag ydynt yn deall ansawdd cymdeithas Seisnig. Samuel Gurney, y dyngarwr hynod, a roes i mi, drwy nodyn a cherdyn teuluaidd, arweiniad i'w Ras yr Archesgob. Derbyniodd yr olaf fi yn garedig yn ei balas. Dechreuais

ymddyddan âg ef yn uniongyrchol yn nghylch cyflwr fy mhobl, a'r cynlluniau oedd genyf mewn golwg. Mynegai y dyddordeb cryfaf ynof, ac wedi oddeutu haner awr o ymddyddan, gofynai, "Yn mha brifysgol, syr, y darfu i chwi raddio?" Mewn attebiad dywedais, "Yn mhrifysgol adfyd y graddiais i, eich Gras." "Prifysgol adfyd," eb efe, gan edrych i fyny gyda syndod; "pa le y mae hono?" Gwelais ei syndod, ac esboniais. "Fy rhan i, eich Gras, oedd cael fy ngeni yn gaethwas, a threulio fy mebyd a'r rhan foreuol o'm hoes fel caethwas. Ni bum erioed mewn ysgol, erioed ni ddarllenais y Beibl yn fy ieuenctyd, a derbyniais yr oll o'm haddysg dan yr amgylchiadau mwyaf gwrthwynebus. Hyn a feddyliwyf wrth raddio yn mhrifysgol adfyd." "Yr wyf yn eich deall, syr," eb efe. "Ond ai posibl yw nad ydych chwi yn ysgolhaig?" "Nid ydwyf," oedd fy atteb. "Ond ni amheuaswn byth nad oeddych yn ddyn a gawsai ei addysgu yn helaeth. Clywais negroaid lawer yn siarad, ond erioed ni welais un yn gallu arfer cystal iaith a chwi. A fyddwch cystal a dweyd, syr, pa fodd y dysgasoch ein hiaith?" Yna eglurais iddo, cystal ag y gallwn, yn nghylch fy mywyd boreuol; fod yn arferiad genyf bob amser sylwi ar siaradwyr da, ac efelychu yn unig y rhai yr ymddangosai eu bod yn siarad gywiraf. "Y mae yn syndod," ebe yr archesgob. "Ac a ydyw yn bosibl i chwi gael eich dwyn i fyny yn anwybodus o grefydd? Pa fodd y cyrhaeddasoch wybodaeth o Grist?" Esboniais iddo, mewn attebiad, ddarfod i fam dlawd, yr hon oedd gaethes anwybodus, fy nysgu i ddweyd Gweddi

yr Arglwydd, er na wyddwn y pryd hwnw, yn wirioneddol, beth oedd gweddio. "A pha fodd yr arweiniwyd chwi i wybodaeth amgenach o'r Gwaredwr?" Attebais mai trwy wrando yr efengyl yn cael ei phregethu. Yna gofynodd i mi adrodd y testun, ac esbonio yr holl amgylchiadau. Dywedais wrtho mai testun y bregeth gyntaf a glywswn oedd, "Fel trwy ras Duw y profai efe farwolaeth dros bob dyn." "Testun prydferth oedd hwn yna," ebe yr archesgob; a theimlai i'r fath raddau wrth wrando ar fy stori syml, fel y tywalltai ddagrau yn hidl.

Dywedasid wrthyf gan Samuel Gurney y byddai i'r archesgob efallai roddi i mi gyfle i gydymddyddan am chwarter awr; edrychais ar yr awrlais, a gwelwn i mi fod yno yn barod am awr a haner, a chyfodais i ymadael. Canlynodd fi i'r drws, a deisyfai arnaf, os deuwn byth i Loegr, i alw gydag ef eilwaith; a chan ysgwyd dwylaw gyda mi yn serchog, tra y crynai y dagrau yn ei lygaid, rhoddodd yn fy nwylaw yn rasol nodyn arianol am £50, a chanodd yn iach i mi. Yr wyf bob amser wedi arfer ystyried ei fod ef yn Gristion twymn-galon.

Fel hyn y terfynodd y cydymddyddan â'r hybarch Archesgob Sumner, o Loegr. Ar fy ail ymweliad â Lloegr, cefais wahoddiad i fyned, yn nghwmni nifer mawr o athrawon yr ysgolion Sabbathol, a threulio diwrnod yn rhodleoedd prydferth Arglwydd John Russell, Prif Weinidog Lloegr y pryd hwnw. Ei barc mawreddog, yn llawn o geirw o amryfal liwiau, o bob hinsawdd; ac ysgyfarnogod chwim, y buasai y bardd Cowper yn eiddigus o honynt; gydag

aneirif adar, plu y rhai, mewn lliwiau godidog, a ymgyfartalent â'r enfys; yn nghyda'r engreifftiau mwyaf dewisol o bysg, yn chwareu yn eu helfen naturiol, a dynai oddiwrthyf y waeddolef naturiol: "O! mor wahanol yw cyflwr y creaduriaid dedwydd, chwareus, a llawen hyn, oddiwrth yr hyn oedd fy nghyflwr i unwaith, a'r hyn yn awr yw rhan miliynau o'm brodyr duon yn America!" Yr oedd y dydd-feddianiad hwn o *grounds* ardderchog Prif Weinidog Lloegr, gan gwmni o athrawon yr Ysgol Sabbathol, yn fath o *pic-nic*, gyda hyn o wahaniaeth, sef, yn lle bod pob athraw yn darpar ei deisenau, ei *pics*, a'i ffrwythydd ei hun, eu bod i'w cael gan wyr a gwragedd, y rhai a gawsent ganiatad i ddyfod i'r *grounds*, gyda phob amrywiaeth o ddewisol bethau bwytadwy ar werth. Ar ol bod yn araf-grwydro dros y llanerchau swynol hyn, yn mwynhau y golygfeydd prydferth, chwim-symudiadau y gwahanol greaduriaid, ac ymddyddanion y lluaws gwyr a gwragedd deallus y deuem i gyfarfyddiad â hwynt, anfonid am danom yn gwbl annisgwyliadwy, am bump o'r gloch, i ymweled â phreswyl ardderchog y meddianydd. Yno y cawsom yr hyn a alwaf yn *surprise-party;* o leiaf, cymerwyd ni drwy syndod, canys arweiniwyd tri chant o honom i ystafell giniawa eang, mesuriadau yr hon nid allai lai na bod yn gan' troedfedd wrth driugain; ac yma yr oedd byrddau, yn gruddfan gan seigiau o bob math, er boddio yr archwaeth, a allai Lloegr ddarparu; ac i'r wledd ddanteithiol hon y caem oll yn awr ein croesawu. Gwahoddid fi i eistedd wrth ben uchaf y bwrdd; erioed ni theimlais fy hun yn cael mwy o an-

rhydedd. Erfynid y fendith drwy ganu y geiriau hyn:—

"Bydd yma wrth ein bwrdd, O! Dduw:
Addoler di gan bob creadur byw;
Bendithia'r doniau hyn,
Ac yn Mharadwys rho i ni
Gael bythol wledda gyda Thi!"

Wedi ciniaw, cynnygiwyd amryw lwncdestunau, ar wahanol faterion, ac mewn ffordd ostyngedig cynnygiwyd a ganlyn genyf finnau:

"Yn gyntaf i Loegr. Anrhydedd i'r gwrolfrydig, rhyddid i'r Caethwas, llwyddiant i rydd-freiniad Prydeinig. Duw gadwo y Frenhines."

Dilynid darlleniad y llwncdestun hwn gan uchel gymeradwyaeth a chwerthin, yn cael eu dilyn gan y bloeddiadau Seisnig arferol, "*I fyny, fyny, fyny etto!*" Cyfodais eilwaith, a rhoddais, "I'n Harglwyddes oruchaf, y Frenhines:"

"Caffed hir oes, a marwolaeth ddedwydd. Teyrnased mewn cyfiawnder, a rheoled mewn cariad!"

Ac i'w phriod anrhydeddus, y Tywysog Albert:

"Boed iddo fwynhau heddwch gartref, pleser yn mhob man, caru ei Frenhines, a gwasanaethu yr Arglwydd!"

Yn mhlith y personau hynod a wnaent areithiau ar yr achlysur gorfoleddus hwn yr oedd y Parch. William Brock, yr Anrhyd. Samuel M. Peto, a brawd-yn-nghyfraith Mr. Peto, a'i foneddiges urddasol a phrydferth. Felly y dybenodd un o ddyddiau difyraf fy mywyd.

## PENNOD XXIII.

### TERFYNU FY NGORUCHWYLIAETH YN LLUNDAIN.

CYHOEDDI FY HANESIAD.—LLYTHYR ODDICARTREF YN MYNEGI AM AFIECHYD FY NGWRAIG.—YMADAWIAD O LUNDAIN.—CYRHAEDD ADREF.—CYFARFOD A'M TEULU.—TRISTWCH MAWR FY MYWYD, MARWOLAETH FY NGWRAIG.

YN mis Mehefin, 1852, y bu y ciniaw yn Mhalas Arglwydd John Russell y soniwyd am dano yn y bennod flaenorol; o'r pryd hwnw hyd y 1af o Awst, yr oeddwn yn brysur ar waith yn cwblhau pob materion cysylltiedig â'm goruchwyliaeth, yn yr hyn y bum lwyddianus iawn, gan y cyrhaeddwyd amcanion fy nghenadaeth. Yn ystod mis Awst, yr oeddwn yn nglyn â'r gwaith o gyhoeddi hanesiad o ddigwyddiadau fy mywyd fel caethwas, yr hyn y taergymhellid fi i'w wneud gan rai o'r gwyr a'r gwragedd ardderchocaf yn Lloegr. Gyda fy mod wedi cwblhau y gwaith, derbyniais, ar y 3ydd o Fedi, lythyr oddiwrth fy nheulu yn Canada, yn hysbysu fod fy anwyl wraig, cydymaith fy mywyd, a chydgyfranogydd o'm holl lawenydd a'm tristwch, ar fin angeu; a'i bod yn gwir ddeisyf arnaf ddychwelyd yn uniongyrchol fel y gallai fy ngweled unwaith yn

rhagor cyn ffarwelio â'r byd. Awr brofedigaethus i mi oedd hon. Yr oeddwn yn Lloegr, bedair mil o filldiroedd o'm cartref. Nid hir y bum yn penderfynu cychwyn tuag adref. Yn foreu y 4ydd o Fedi, ar ol derbyn y llythyr o gartref am bedwar o'r gloch prydnhawn y 3ydd, yr oeddwn ar fy ffordd o Lundain i Liverpool, a chychwynais o Liverpool ar y 5ed yn yr ager-long Canada, yn rhwym am Boston. Ar yr 20fed o'r un mis, cyrhaeddais fy nghartref fy hun yn Canada. Gall y rhai a fuont mewn cyffelyb amgylchiadau sylweddoli beth oedd raid fod fy nheimladau, fel y dyneswn at fy mhr eswyl ostyngedig. Ni chlywswn ddim heblaw yr hysbysiad cynwysedig yn y llythyr a'm cyrhaeddodd yn Liverpool. Ni wyddwn pa un a oedd fy anwyl wraig, mam fy mhlant, yr hon yn drist, unig, a thraed-ddolurus a fuasai yn teithio gyda mi o dir caethiwed, a'r hon am ddeugain mlynedd a fuasai i mi yn wraig dirion, serchog, ac ufudd—pa un a oedd hi etto yn fyw, neu a ydoedd wedi myned i'w gorphwysfa.

Gwelsai ein Tad trugarog o'r nef, pa fodd bynag, yn dda estyn ei heinioes, a chaniatawyd unwaith yn rhagor i ni gyfarfod. Ac O! y fath gyfarfod! Cyfarfuwyd fi yn ymyl y tŷ gan bedair o'm merched, y rhai a ymdaflent i'm breichiau, gan y mwynhad a deimlent oherwydd fy nychweliad annisgwyliadwy. Erfynient arnaf beidio myned i mewn i weled eu mham hyd nes iddynt hwy fyned yn gyntaf, a'i pharotoi ar gyfer hyn, gan ymsyniaw yn dra doeth, y byddai y *shock* yn rhy fawr i'w gewynau gweinion ei ddal. Cydsyniais fod iddynt fy rhagflaenu. Pan aethum at ei gwely, derbyniodd a chofleidiodd fi

gyda thawelwch a gwroldeb Cristion, ac hyd yn nod ceryddodd oblegid y teimladau cryfion o dristwch y rhai nis gallwn eu cadw yn guddiedig. Cefais hi yn berffaith dawel ac ymostyngar i ewyllys Duw, ac yn disgwyl gyda sefydlogrwydd Cristionogol am awr ei hymddattodiad. Llawenhâi am fy ngweled unwaith yn rhagor, tra, ar yr un pryd, y dywedai iddi efallai wneud allan o le wrth ganiatau i mi adael Lloegr pan oedd fy rhagolygon goruchwyliaethol mor addawol. Dywedais wrthi fy mod wedi mwy na fy moddloni, fy mod yn wir ddiolchgar i'm Tad Nefol am ganiatau i mi yr ymgyfarfyddiad hwn, heb ofalu beth fyddai y golled arianol. Siaradem yn nghylch ein holl fywyd blaenorol, mor bell ag y caniatâi ei nherth, gan adolygu y lluaws golygfeydd o dristwch a thrallod, yn gystal a'r lluaws dyddiau dysglaer a dedwydd yn nhaith ein pererindod, hyd nes y ceisiai natur luddedig orphwysfa, ac yna hi ymollyngodd i esmwyth hûn.

Y dydd canlynol, hi ymadfywiodd; ymddangosai fod fy nychweliad wedi ei hysbrydoli â gobaith yr adferid ei hiechyd o bosibl etto. Nid oedd i fod felly, pa fodd bynag; ond caniataodd Duw yn ei drugaredd oediad iddi, ac estynwyd ei hiechyd am ychydig wythnosau. Cefais fel hyn y boddhad pruddaidd o wylio ddydd a nôs wrth ei gwely o nychdod a phoen, a chaniatawyd i mi gau ei llygaid, pan ddaeth y wŷs olaf. Bendithiai fi, a bendithiai ei phlant, gan eu gorchymyn i ofal byth-wyliadwrus y Ceidwad hwnw a'i cynaliodd hi mewn cynifer o oriau profedigaethus; ac yn y diwedd, wedi fy nghusanu i a phob un o'r plant, hi aeth drwodd o'r

ddaear i'r nefoedd heb bang na gruddfaniad, mor dyner ag y syrth baban i gysgu ar fynwes ei fam.

"Pwy na chwenychai farw fel
Y rhai fendithia Ysbryd Duw,
Can's huno wnant i bêr ddeffroi
I wynfyd perffaith y nef wiw."

Gallaf yn wirioneddol ac o galon orlifol ddweyd, ei bod hi yn Gristion didwyll ac ymroddgar, ac yn wraig ffyddlawn a thirion i mi, gan drefnu ein holl faterion teuluaidd, hyd yn nod i fyny at ddydd ei marwolaeth, yn y fath fodd ag a gyfranai i'm cysur a'm dedwyddwch, mor bell ag oedd ddichonadwy.

## PENNOD XXIV.

### RHYDDHAD FY MRAWD.

AI CEIDWAD FY MRAWD YDWYF FI?—YMDRECHION I SICRHAU EI RYDDID.—CEISIADAU I GODI YR ARIAN.—UNIAD EI DEULU.

TRA yn Llundain der byniais arwyddion lluosog o barch oddiwrth lawer o foneddigion dyngarol, y rhai ni annghofir genyf byth; ond cyffyrddwyd fi yn neillduol gan garedigrwydd nodedig Samuel Morley, Ysw., a George Hitchcock, Ysw., o St. Paul's Churchyard. Gwahoddwyd fi gan y ddau foneddwr hyn i giniawa gyda hwy bob dydd am haner awr wedi un. Derbyniais eu gwahoddiad yn ddiolchgar, ac arferwn giniawa gyda y boneddigion hyn bob yn ail, gan dderbyn oddiwrthynt bob amser y croesawiad gwresocaf. Ni archollwyd unwaith fy syniad o ddynoldeb, un o elfenau cryfaf fy meddwl, canys derbynid a chroesawid fi yn ddi-dor fel ymwelydd parchedig. Un diwrnod eisteddwn wrth fwrdd Mr. Morley, ac yr oeddwn oddeutu cyfranogi o'i gyflenwad helaethfawr o ymborth meithrinol, pan yn sydyn y troai fy meddwl at y gorphenol. Yr oeddwn yn cofio golygfeydd profedigaethus fy mywyd helyntfawr, a bod fy unig frawd etto yn rhwym yn nghadwyni haiarnaidd caethiwed, yn amddifad o holl gysuron bywyd, ac yn llusgo allan fodolaeth dlawd a gresynol;

tra yr oeddwn i yn cael fy nghylchynu gan foethau, ac yn eistedd wrth fwrdd llawn un o'r dynion blaenaf yn y deyrnas. Gallwn braidd glywed tinciadau ei gadwyni, ac, â llygad fy meddwl, ei ganfod heb prin grystyn o fara i ddofi ei newyn, neu wydraid o ddwfr i dori ei syched. Effeithid cymaint arnaf gan fy ngweledigaeth, fel y codais oddiwrth y bwrdd heb fwyta tamaid o ymborth.

Wedi ei daro gan fy ymddangosiad anarferol, canys arferaswn fod yn llawen a dedwydd bob amser, gofynai Mr. Morley, "Beth yw y mater, Josiah? A ddigwyddodd rhywbeth i derfysgu eich tawelwch meddyliol?"

Ar y cyntaf ni allwn reoli fy nheimladau yn ddigonol i'w atteb. Ychwanegai, "Deuwch, deuwch, Josiah, gwnewch helpu a gwneud eich hun gartref."

Yn fuan cesglais ddigon o wroldeb i ddweyd wrtho yr achos o'm cyffro hwn, a gofynais iddo "fy esgusodi am beidio bwyta fy nghiniaw y dydd hwnw, am nad oedd genyf archwaeth."

Penderfynais yn fy meddwl yno, ac ar y pryd, y gwnawn, mor fuan ag y dychwelwn i America, bob ymdrech dichonadwy i sicrhau i'm brawd y rhyddid bendigedig yr oeddwn fy hunan yn ei fwynhau.

Nid oedd yn ngallu caethwasiaeth i ddinystrio y cylymau cymdeithasol a rwyment wahanol aelodau teulu yn nghyd; ac er fod teuluoedd yn fynych yn cael eu rhwygo oddiwrth eu gilydd, etto yn gyffredinol effeithiai y côf er cadw y serchiadau yn wresog a pharhaol.

Cyn fy myned i Loegr, aml waith y ceisiaswn gan fy mrawd ddianc ymaith. Gwelsai Mr. William L.

Chaplain, o New York, ef yn ei gartref deheuol, a cheisiodd ei gymhell i gymeryd y rheilffordd danddaearol—hyny yw, rhedeg i ffordd. Ond cafodd ef fod meddwl fy mrawd wedi ei ddirywio a'i bylu i'r fath raddau gan gaethwasiaeth fel na pheryglai ei fywyd yn yr ymgais at enill ei ryddid, a hysbysodd fi o'r ffaith hon. Er hyn, ni allwn orphwys yn foddlawn, ac addawai Mr. Chaplain wneud ymgais arall, gan y bwriadai ymweled â'r gymydogaeth drachefn. Ceisiai ddylanwadu ar fy mrawd yr ail waith, heb un canlyniad da; ac yna ceisiodd gynorthwyo caethion Mr. Tomb, y rhai oeddynt wedi penderfynu dianc o Georgia i Canada. Daliwyd Mr. Chaplain, a thaflwyd ef i garchar i ddisgwyl ei brawf. Rhyddhawyd ef dan feichniaeth oedd dair gwaith yn gymaint a gwerth y caethion. Darfu i'r Hathaways, Crynwyr haelfrydig o Farmington, New York, ac Asa B. Smith, a William R. Smith, ei fab, o'r un dref, dalu yr arian meichniol, gan ddeisyf ar Mr. Chaplain fforffetio y swm, am y gwyddent mai canlyniad y prawf fyddai iddo gael ei grogi. Ychwanegaf yma y bu raid i'r ddau Smith werthu eu ffermydd, ac iddynt mewn modd arianol gael eu dinystrio am yr amser; a chyda phleser yr wyf yn gwneud y cof-nodiad hwn am eu haelioni yn yr achos gwrth-gaethwasiol.

Ar fy nychweliad i Canada, rhyddhad fy mrawd oedd fy meddylddrych uwchaf. Pa bryd bynag y mabwysiedais iaith y mab afradlon, yr hwn a ddywedai, "Mi a godaf, ac a äf at fy nhad"—hyny yw, pan ddywedwn yn fy nghalon y geiriau, "Gyda chymorth Duw, mi a'i gwnaf"—derbyniwn rywfodd

y gallu i gwblhau fy anturiaeth. Er y gallai i mi fod dan orfod i newid fy nghynlluniau a'm cwrs o weithredu, a dilyn rhai eraill rhwyddach, etto, yn y diwedd cyrhaeddid yr amcan yn y modd rhyfeddaf. Methasai fy holl gynlluniau blaenorol i waredu fy mrawd, eithr ni thueddid fi mewn un modd i roddi i fyny yr amcan. Trwy gynorthwy cyfeillion, dysgais fod y feistres y perthynai fy mrawd iddi yn barod i roddi iddo ei bapurau gollyngdod am 400 o ddoleri, a bernais y byddai yn rhaid i mi godi 550 o ddoleri, neu o gylch £110, fel ag i fod yn abl i'w gymeryd i'm cartref yn Canada. Ymgynghorais â rhai o'r cyfeillion gwrth-gaethwasiol yn Boston, yn enwedig Amos Lawrence, Ysw., a chytunasant gyhoeddi hanes fy mywyd, megys y gwnaethwn awgrymu iddynt, modd y gallwn, drwy ei werthu, godi swm digonol o arian i brynu rhyddid fy mrawd. Cymerais sypyn o'r llyfrau ar fy nghefn, a theithiais drwy Daleithiau New England, a llwyddais i ennyn dyddordeb yn y bobl, fel y'm galluogwyd i godi yr arian oedd ofynol. Yna, drwy gyfryngiaeth Mr. Charles C. Berry, *cashier* y City Bank yn Boston, Massachusetts, i'r rhai yr oedd cyfeillion yn y De, anfonais yr iawn-dâl yn llawen. Yn fuan daeth fy mrawd o Maryland i Baltimore; ac oddiyno hyd y môr i Boston, lle y cyfarfyddais ac y cymerais ef i'm cartref yn Canada, a chedwais ef yno am bymtheng mlynedd. Pan ddarfu i Gyhoeddiad Rhyddid yr Arlywydd Lincoln roddi rhyddid i'r holl gaethion yn America, daeth mab hynaf fy mrawd i Canada i weled ei dad, a gwnaethai y cyfarfod les i galon yr Arlywydd Lincoln pe buasai yn dyst o hono.

Aeth y mab yn ol, ac arosodd gyda'i fam a'i frodyr am dair blynedd. Yna daeth i Canada i gymeryd fy mrawd i ail uno ei wraig a'i deulu yn New Jersey; canys wedi i Ddeddf y Rhyddfreiniad ddyfod i rym, symudodd meistres fy mrawd o Maryland i New Jersey, lle y prynodd ei gwr fferm fawr oedd bwrpasol at gadw gwartheg. Yn ofer y bu yn ceisio gwneud ei hun i fyny gyda gweision gwynion cyffredin. Yna hi berswadiodd fy mrawd i ddwyn ei deulu i'w fferm hi; ac arosasant gyda hi hyd y dydd hwn fel gweision cyflogedig, a hwy dderbynient gyflogau rhagorol am eu gwasanaeth ffyddlon. Mab hynaf fy mrawd sydd yn arolygu ei llaethfa; efe yw y pen-dyn, a rhoddir ynddo ymddiried mawr. Y mae fy mrawd yn awr yn un mlwydd ar ddeg a phedwar ugain oed, ac efe yw yr unig berthynas byw sy' genyf, oddieithr fy ngwraig a'm plant.

## PENNOD XXV.

### CYMERIADAU MRS. STOWE.

FY YMWELIAD A MRS. STOWE.—PAHAM Y'M GELWIR "UNCLE TOM."—EI DYDDORDEB YN HANES FY MYWYD.—EI LLYFR CLODFAWR.—A YW YN ORMODIAETH ?—AGORIAD MRS. STOWE.

WEDI fy ymweliad llwyddianus â Lloegr, bum yn teithio yn Canada, ac yn Maine, New Hampshire, Vermont, Massachusetts, Connecticut, a Rhode Island. Yn yr holl daleithiau hyn, fe'm croesawid yn wresog fel llefarwr yn mhulpudau y Cynulleidfaolwyr, Presbyteriaid, Trefnyddion, Bedyddwyr, ac *Universalists*. Cynheliais gyfarfodydd lawer, a dadleuais bwnc caethwasiaeth yn ei holl arweddion ar gymdeithas. Y pryd hwnw, ystyrid fod caethwasiaeth yn sefydliad parhaol yn y De, a thybid na allai dim ond daeargryn fod yn ddigon nerthol i dori i fyny sylfeini y trefniant. Drychfeddwl camsyniol yw y buasai i'r mwyafrif o'r caethfeistri werthu eu caethion pe cynnygiasai y llywodraeth eu prynu. Hoffent y trefniant, tyfasant i fyny gydag ef, ac ni thueddid hwynt i'w roddi i fyny heb ymdrech caled. Nid oedd syniadau gwrthgaethwasiol yn boblogaidd yn y De, nac yn gyffredinol chwaith yn y Gogledd. Ar y cyfrif hwn, arferai y rhai a feddent ddigon o wroldeb moesol i

ddadleu teilyngdod ac annheilyngdod y trefniant i gynal cyfarfodydd a chynghorfaoedd i'r amcan hwn. Yr oeddwn beunydd yn teithio ac yn gwneud yr oll a allwn i helpu cyfnewid y teimlad cyhoeddus yn y Gogledd. Bum yn nghymydogaeth Andover, Mass., lle y preswyliai Mrs. Harriet Beecher Stowe. Anfonodd am danaf, ac am fy nghyd-deithiwr, Mr. George Clark, boneddwr gwyn, gan yr hwn yr oedd llais rhagorol at ganu, ac yn gyffredin a ganai yn fy nghyfarfodydd, er ychwanegu at eu dyddordeb. Aethom i dŷ Mrs. Stowe; hi deimlai ddyddordeb dwfn yn hanes fy mywyd a'm hanffodion, a cheisai genyf adrodd y manylion iddi. Dywedai fod yn llawen ganddi fod yr hanes wedi ei gyhoeddi, a gobeithiai y byddai o wasanaeth mawr, ac yr agorai lygaid y bobl i weled anferthwch y trosedd o ddal dynion mewn caethiwed. Amlygodd y fath ddyddordeb ynof, fel y dywedais wrthi yn nghylch neillduolion lluaws o gaeth-feistri, ac am y caethion yn y rhanbarth lle y buaswn yn byw am ddwy flynedd a deugain. Buasai fy mhrofiadau yn fwy amrywiol nag eiddo y mwyafrif o gaethion, oblegid yr oeddwn, nid yn unig yn oruchwyliwr i'm meistr, ond hefyd yn farchnad-ddyn am bum' mlynedd ar hugain yn marchnad Washington, lle yr awn i werthu y cynyrch oddiar blanfa fy meistr.

Yn fuan wedi hyn y bu i lyfr hynod Mrs. Stowe, "Uncle Tom's Cabin," gael ei gyhoeddi, a'i ledaenu yn mhob parth o America, a'i ddarllen yn agored yn y Gogledd, ac yn lladradaidd yn y De. Meddyliai llaweroedd fod ei mynegiadau yn eithafol. Yna hi gyhoeddodd yr agoriad i'r llyfr, i brofi fod yn an-

mhosibl mwyhau yn ormodol erchyllderau caethwasiaeth, ac yn hwn, hi roddai lawer o amgylchiadau cyd-attebol, a chyfeiriodd at hanes fy mywyd i fel amlygiad o wirionedd cymeriad ei chlodfawr Uncle Tom. O'r amser hwnw hyd yn bresenol, galwyd fi "Uncle Tom," a theimlwyf yn falch o'r teitl. Os bu i'm geiriau gostyngedig mewn rhyw fodd ysbrydoli y foneddiges dalentog hono i ysgrifenu y fath stori gwynfanus, fel ag i gyffwrdd yr holl boblogaeth â thosturi tuag at ddyoddefiadau y caethwas druan, ni bum fyw yn ofer; canys credwyf mai ei llyfr hi oedd dechreu y diweddiad gogoneddus. Rhyw gŷn ydoedd a rwygodd drwy ei chanol o'r diwedd yr adail aruthrol hono, gyda mawr-drwst ofnadwy. Er iddi wneuthur i'w harwr farw, gweddus oedd iddi wneud hyn i gwblhau ei stori; ac oni buasai fod Duw wedi rhoddi i mi gyfansoddiad cawr, buaswn wedi marw drosodd a throsodd drachefn yn hir cyn cyrhaedd o honof Canada. Ystyriwyf ei fod yn un o brydweddion hynotaf fy mywyd i mi allu dal wedi bod gymaint o weithiau yn agored i bob math o gyfyngderau. Yr wyf yn ddiolchgar i Dduw am ei drugareddau helaethfawr i mi, drwy fy nwyn o'r Aipht i dir yr addewid, a gobeithiwyf i fod yn ffyddlawn was iddo hyd fy awr ddiweddaf.

Y caethion gwynion, George Harris a'i wraig Eliza, oeddynt fy nghyfeillion arbenig. Y mae George Harris, gwir enw yr hwn yw Lewis Clark, yn wyn hyd rywbeth fel y drydedd ran. Bu gyda mi yn teithio ac yn darlithio yn Nhaleithiau New England. Dyn medrus a deallgar iawn ydyw, yn ol fel y darlunia Mrs. Stowe ef. Bu ef a'i wraig

yn byw yn Canada am hir amser wedi eu ffoedigaeth o gaethiwed; ac o'r diwedd, symudasant i Oberlin, Ohio, er addysgu eu plant, canys y mae cryn ragfarn o hyd mewn rhai lleoedd yn Canada gyda golwg ar ganiatau i blant y byddo yn eu gwythienau un dafn o waed du ddyfod i ysgolion yn y rhai y dysgir plant gwynion; etto, ceir fod y bobl dduon yn y parthau hyny yn talu eu rhan o'r trethoedd a'r ysgol-daliadau.

Meddyliai llawer o bobl fod desgrifiad dyddorol Mrs. Stowe o Eliza yn ormodiaeth mawr, a bod yn anmhosibl i gaeth-wraig ddianc yn y fath fodd. Fod gan Mrs. Stowe wir amgylchiad yn gymeriad i ddal arno a fydd amlwg oddiwrth y dyfyniad canlynol o "Adgofion Levi Coffin," yn mha un y rhydd efe hanesiad cywir o'r amgylchiad cynhyrfus hwn, fel ei hadroddid gan y wraig ei hun:—

"Dywedai mai caeth-ferch o Kentucky ydoedd, eiddo dyn yr hwn oedd yn byw ychydig filldiroedd oddiwrth yr Afon Ohio, islaw Ripley, Ohio. Ei mheistr a'i mheistres oeddynt garedig iddi, ac yr oedd iddi gartref cysurus; ond gan i'w mheistr fyned i ryw anhawsdra arianol, cafodd ei bod hi a'i hunig blentyn i gael eu hysgaru. Claddesid dau o blant ganddi, ac felly yr oedd yn ddwbl glymedig wrth yr un a adawsid ar ol iddi, pa un oedd blentyn dysglaer, addawol, dros ddwy flwydd oed. Pan welodd ei fod i gael ei gymeryd oddiwrthi, llenwid hi gan ofid a braw, a phenderfynodd ddianc y noswaith hono os yn bosibl. Disgwyliodd am ei chyfleusdra; a phan ymledodd y tywyllwch, ac y neillduodd y teulu i gysgu, cychwynodd gyda'i phlentyn yn syth tua'r

Afon Ohio. Gwyddai ei bod wedi rhewi drosti yr adeg hono o'r flwyddyn, a gobeithiai ei chroesi heb anhawsdra ar y rhew; ond pan gyrhaeddai ei glenydd wrth oleuni dydd, canfyddai fod yr iâ wedi tori i fyny, a'i fod yn araf lithro i waered yn ddarnau mawrion. Anturiodd fyned i dŷ cyfagos, lle y derbyniwyd hi yn garedig ac y caniatawyd iddi aros drwy y dydd. Gobeithiai gael rhyw ffordd i groesi yr afon y noswaith nesaf, eithr ychydig ragolwg oedd y gallai neb groesi mewn dyogelwch, canys yn ystod y dydd deuai y rhew yn fwy toredig a pheryglus i'w groesi. Yn yr hwyr, hi ganfu fod erlynwyr yn agos i'r tŷ, a chyda gwroldeb eithafol, hi benderfynodd groesi yr afon, neu drengu yn yr ymgais. Gan wasgu ei phlentyn yn ei breichiau, hi ymsaethai drwy y drws cefn, ac a redai tua'r afon, yn cael ei dilyn gan ei hymlidwyr, y rhai oeddynt newydd ddisgyn oddiar eu ceffylau, pan y cawsant olwg arni. Nid aeth ofn na syniad am berygl personol i feddwl Eliza, canys teimlai y byddai yn well ganddi foddi na chael ei dal a'i gwahanu oddiwrth ei phlentyn. Gan gymeryd ei baban i'w mhynwes gyda'i braich chwith, hi neidiodd ar y talp cyntaf o rew, ac yna ar un arall, ac un arall. Weithiau suddai y darn ar ba un y safai dan ei phwys; yna hi lithrai ei phlentyn ar y talp nesaf, tynu ei hun yn mlaen gyda'i dwylaw, ac felly parhau ei thaith beryglus. Daeth yn wlyb gyda y dwfr eira hyd ei chanol, a'i dwylaw a wanheid gan oerni; ond fel y gwnelai ei ffordd o un darn o rew i'r llall, hi deimlai yn sicr fod yr Arglwydd yn ei chadw ac yn ei chynal, ac nas gallai dim ei niweidio. Pan gyrhaeddodd yr

ochr arall i'r Ohio yn agos i Ripley, yr ydoedd wedi llwyr ddiffygio, ac yn ymyl colli ei hanadl. Cynorthwyid hi i ddyfod i'r lan gan ddyn, a fuasai yn sefyll ar y lan yn gwylio ei llwyddiant gyda syndod, ac yn disgwyl bob moment ei gweled yn myned i lawr. Wedi iddi adnewyddu ei nherth ychydig, cyfarwyddodd hi i dŷ ar y bryn yn nghyffiniau y dref. Gwnaeth ei ffordd i'r lle, derbyniwyd hi yn garedig a gofalwyd am dani. Ni ystyrid yn ddyogel iddi aros yno drwy y nôs; felly ar ol gorphwys enyd, a chael cyflenwad o ymborth a dillad sychion, trosglwyddwyd hi i orsaf ar y rheilffordd dan-ddaearol, ychydig yn mhellach oddiwrth yr afon. Y noswaith nesaf, hebryngid hi yn mlaen o orsaf i orsaf i'n tŷ ni yn Newport, lle y cyrhaeddodd yn ddyogel ac yr arosodd dros amryw ddyddiau.

"Yn y cyfamser, daeth ffoaduriaid eraill i mewn, ac anfonwyd Eliza a'i phlentyn gyda hwy ar hyd y rheilffordd dan-ddaearol o Granville i Sandusky, Ohio. Cyrhaeddasant y lle hwnw mewn dyogelwch, a chroesasant y llyn i Canada, gan ymsefydlu o'r diwedd yn Chatham, Canada Orllewinol."

Bu farw Eliza y flwyddyn hon, yn Oberlin, ond y mae ei gwr etto yn ddyn gweithgar ac anturiaethus. Y mae arliw ei frawd mor agos i fod yn wyn, fel y mae braidd yn anmhosibl i unrhyw un nad yw yn gydnabyddus â'i hanes i weled fod ganddo ddim gwaed lliwiedig. Y mae ef yn y toll-dŷ yn Boston, Mass.

Yr oedd ar ein planfa ni eneth negroaidd o'r enw Dinah, yr hon oedd agos mor debyg i Topsy Mrs. Stowe ag yw dwy bysen yn y gôd. Yr oedd Dinah

yn glir o feddwl, mor gyflym a chyfrwys a llwynog; ond gweithredai yn fwriadol fel ffwl neu hurtyn, mewn trefn i gymeryd mantais ar ei mheistres. Pan ddywedai yr olaf, "Dinah, dos a gwna dy waith," hi attebai dan chwerthin, "Gwnaf, gwnaf, pan y byddaf barod;" neu, "Ewch, a gwnewch o eich hunan." Weithiau, hi ysgrechiai allan, "Nis gwnaf; celwydd yw hwn yna—deliwch fi os gellwch;" ac yna hi droai ar ei sodlau ac a redai ymaith. Yr oedd mor ryfedd a digrifol yn ei ffyrdd, fel y byddai beunydd yn gwneud pob math o bethau hynod; ond diangai rhag y fflangellu a gai caethion eraill, nad ymddygent haner cynddrwg yn ddyddiol, am y tybiai ei meistres mai *idiot* ydoedd.

Yn nghymydogaeth fy hen gartref, preswyliai boneddwr o'r enw Mr. St. Clair Young. Yr oedd mor dyner-galon a St. Clair Mrs. Stowe. Yn fuan wedi i mi adael y lle, clywais iddo droi at grefydd, rhyddhau ei gaethion, gwerthu ei dir, symud i Indiana, a phregethu fel gweinidog Trefnyddol.

Mae yn ffaith y gorfodid caeth-feistr, mor fuan ag y deffroai ei gydwybod, i roddi i fyny ei gaethion neu ynte ei argyhoeddiadau crefyddol; canys mor wrthwynebus oedd y pethau hyn, fel nad allent gytuno. Yr oedd gan Mr. St. Clair Young ferch fechan anwyl, yr hon yn hawdd a allasai fod yn gynllun o'r werthfawr Eva fach. Mynych y ceid fod plant caeth-feistri yn rhai tyner-galon ac o natur dda, a'u bod yn gymdeithion dedwydd yn ystod eu plentyndod, cyn iddynt ddyfod yn ddigon hên i weithredu awdurdod. Yna, dan ddylanwad eu hamgylchiadau, mynych y troai caethwasiaeth y

dueddfryd addfwynaf i fod yn un groes, fel yr effeithia taranau er troi llefrith.

Gallai Bryce Litton, yr hwn a dorodd fy mreichiau ac a'm hanafodd dros fy oes, sefyll yn dda am y creulawn Legree, a ddesgrifir gan Mrs. Stowe. Litton oedd y dyn mwyaf gormesol a barbaraidd a welais i erioed, ac y mae genyf reswm da i wybod y gwnaethai ei ysbryd dialgar a maleisus ei arwain i gyflawni y gweithredoedd mwyaf creulawn. Treuliodd fywyd truenus, fel baedd, a bu farw fel ci ychydig flynyddau wedi i mi adael y rhan hono o'r wlad. Casheid ef yn gyffredinol hyd yn nod yn mhlith caeth-feistri; canys pan elai goruchwyliwr yn mhell tu hwnt i derfynau yr hyn a alwent hwy yn ddynoliaeth, yr oedd ef yn ddyn â nod arno, osgoid ei gymdeithas, ac yr oedd ei fywyd yn mhell o fod yn un hyfryd. Yn debyg i ladron, yr oedd gan gaeth-feistri fath ar gredo o anrhydedd.

Nid yw llyfr Mrs. Stowe yn rhoddi hanes gormodiaethol o ddrygau cymdeithas. Erioed ni fynegwyd haner y gwirionedd; byddai yr hanes yn rhy ddychrynllyd i'w wrando. Gallwn lenwi y llyfr hwn âg engreifftiau a ddaethant dan fy mhrofiad a'm sylw fy hun, drwy y rhai y gallwn brofi y medrai ac y gwnelai y caeth-feistr dori pob un o'r deg gorchymyn yn ddigosb. Ni chaniateid i gaethwas dystiolaethu yn erbyn dyn gwyn mewn llys barn; yn ganlynol, rhaid fyddai iddo ddwyn yr holl greulonderau y gwelai y meistr yn dda eu gweinyddu. Gallwn adrodd ffeithiau a arswydent unrhyw ddyn o galon haelfrydig a thyner.

## PENNOD XXVI.

### YR YSGOL LAW-WEITHFAOL YN DAWN.

HELBULON.—CAMRODDI HYDER.—AGORIAD LLYGAID.—CYFREITHIO. —PRIFYSGOL WILBERFORCE.

CODASAI anhawsderau yn nglyn â llywodraethiad y sefydliad llaw-weithfaol yn Dawn cyn i mi ymweled â Lloegr yn 1851. Chwyddasai dyledion, ac yr oeddwn wedi ymrwymo i gymeryd y felin lifio a rhan o'r tir, a chlirio ymaith y dyledion, fel yr eglurais o'r blaen. Sefydlais yr ysgol gyda dealltwriaeth clir nad oedd i ledaenu sectyddiaeth. Eithr tueddid y rhai a gawsent reolaeth drosti i'w gollwng i fod megys eiddo sect neillduol. Gwrthwynebais hyn, ac felly tynais arnaf eu hannghymeradwyaeth. Yn fuan ar ol hyny ymwelais â Lloegr, a dechreuais godi arian er budd yr ysgol; ond fel y mynegais o'r blaen, ceisiai y blaid oedd benaf wrthweithio fy egnion drwy fy ngwarthruddo yn gyhoeddus. Cynnygiodd fy mhwyllgor yn Llundain ar fod i foneddwr ymweled â Canada, a mynu gwybod y ffeithiau o berthynas i'm cymeriad personol. Awgrymodd Mr. Samuel Morley am i mi fyned i Canada gyda y boneddwr. Dywedai, "Os yw pethau fel y dywedwch chwi, Josiah, trefnwn ffordd i chwi ddychwelyd, ac yna gellwch orphen eich gwaith yma.

Ond os twyllwr ydych, fel yr arddangosai eich gelynion, chwi fyddwch yno gartref gyda'ch teulu; ni fydd arnoch eisieu dychwelyd yn ol, ac ni fydd arnom ninnau eisieu eich gweled. Pe profid eich bod yma yn codi arian drwy dwyll, ni allai dim eich gwared rhag cael eich anfon i Van Dieman's Land."

Pan gyrhaeddasom Canada, galwyd cynghorfa ar y lle y safai yr ysgol arno, gwnaed ymofynion manwl, ac ni cheid cyhuddiadau yn fy erbyn i. Wedi i'r boneddwr Seisnig hwn gael sicrwydd am yr holl fanylion dychwelodd i Loegr, gwnaeth adroddiad ffafriol i'm pwyllgor, ac arosodd yn Lloegr am flwyddyn neu ddwy.

Cyn iddo adael America, trefnodd gydag Amos Lawrence, Ysw., o Boston, fy mod i fyned i Loegr pan fyddwn yn barod, a gadawodd gydag ef yr arian at ddwyn traul fy nghludiad. Yn ganlynol, yn ngauaf 1851, yr un flwyddyn, yr oeddwn yn ol yn Lloegr; gorphenais fy ngwaith, codais oddeutu £1,000 ar gyfer yr ysgol, a gadewais yr arian, yr hyn oedd ddigon i dalu holl ddyledion yr ysgol, yn nwylaw y trysorydd, Mr. Gurney, o Lundain. Dywedodd y boneddwr Seisnig wrth ymddiriedolwyr yr ysgol yn Dawn y gellid gwneud y lle yr un mwyaf dysglaer yn ngardd yr Arglwydd, pe cawsid ond llywydd effeithiol i'w reoli. Cytunodd y cwbl o'r ymddiriedolwyr oddieithr un i gyflwyno y sefydliad iddo ef i'w rheoli. Addawodd ei chlirio o ddyled, ac arddangosodd i'r ymddiriedolwyr, "y byddai y pwyllgor yn Llundain, a ddewisasid genyf fi, yn gyfrifol iddo ef, neu fe'i cynorthwyai i osod yr ysgol ar sail barhaus ac i'w gwneud yn oleudy moesol

gogoneddus—yn rhyw dân-arwydd y byddai ei lewyrch yn arosol."

Edrychai hyn yn rhesymol, a chydsyniais â'r ymddiriedolwyr pan roddasant iddo y llywyddiaeth; canys gwyddwn ei fod yn cael ei barchu yn Llundain, iddo gael ei anfon i'r India Orllewinol i ymofyn yn nghylch sefyllfa caethwasiaeth yno, ac i'w adrodd iadau gynorthwyo er sichrau rhyddhad y caethion yn yr India Orllewinol.

Cyflwynodd yr achos i sylw y pwyllgor yn Llundain, a phan ddywedodd wrthynt ei fod yn disgwyl y gwnaent ei gefnogi, dywedodd Samuel Morley, "Ni ddarfu i ni eich awdurdodi i arddangos y gwnaem gymeryd ar ein hysgwyddau gyfrifoldeb yr ysgol, ac nis gallwn ei wneud." Penderfynwyd y byddai i'r pwyllgor deimlo dyddordeb yn llwyddiant yr ysgol, ond na wnaent fod yn agored i unrhyw golledion arianol o'i phlegid.

Yn mhen oddeutu dwy flynedd dychwelodd y boneddwr i Canada, a chymerodd gydag ef yr arian a godaswn ar gyfer dyledion yr ysgol. Prynodd i fyny y dyledion, gan roddi i rai 62 *cents* yn y *dollar*, ac i eraill y swm yn gyflawn. Yna, wedi cael ei deulu atto, cymerodd feddiant o'r lle, a gofal y sefydliad o ddifrif. Dywedodd, "Yr wyf yn myned i adnewyddu y lle hwn, 'de novo.'" Ni allaf byth annghofio y geiriau hyny, yr oeddynt yn swnio mor ardderchog yn fy nghlustiau.

Buan y cefais ei fod yn bwriadu dechreu yn y dechreu. Yr oedd genyf ffydd gref yn ei uniondeb, credwn bob gair a ddywedai; a buaswn, y pryd hwnw, yn ymwystlo i gario allan ei feddyliau hyd yr

eithaf. Fel yr oedd y tir mewn cyflwr ysblenydd, disgwylid bob yn dipyn, mae'n debyg, gael cynllun o fferm, yr hon a ddygai i mewn flwydd-daliadau helaeth.

Fy marn onest yw, ei fod ar y dechreu yn bwriadu lleshau y bobl dduon, a chael ysgol ysblenydd a fyddai yn falchder y fro. Pe buasai ef yn amaethwr ymarferol yn lle yn un pen-ddysgol, diameu y buasai yn cwblhau yr amcanion bendigedig hyn. Yn fuan, dechreuodd brynu y gwartheg mwyaf drudfawr yn y farchnad am brisiau mympwyol, ac heb unrhyw ystyriaeth o'r ffaith nad oedd ganddo ddigon o ymborth i'w diwallu ar ol eu dodi i mewn yn y beudai. Prynodd hefyd offer drudfawr at weithio y fferm yn gelfyddydol, ac yna tynodd i lawr yr ysgoldy, a'r hyn oedd o'i amgylch, am eu bod yn rhy gyntefig i foddio ei feddyl-ddrychau godidog ef, ac addawai godi adeiladau mwy sylweddol a chyfleus. Cefnogid ef genyf yn yr holl awgrymiadau hyn, canys yr oedd genyf y fath barch i'r dyn ag a ymgodai i wir edmygedd.

Yn unol â'i gais, mynych yr awn gydag ef i'r farchnad, ac yn y cyffredin gofynai fy marn am yr anifeiliaid braf yr oedd ef beunydd yn eu hychwanegu at ei *stock*. Weithiau anturiwn awgrymu y byddai yn rhaid iddynt gael llawer o ŷd yn ystod gauaf maith fel sydd yn Canada. Ond gwrthodai yn ddieithriad gymeryd fy nghyngor yn y peth hwn, a chasglwn ei fod yn gwybod beth oedd yn wneuthur, a bod ganddo yn sicr brofiad, onide ni buasai yn dilyn cwrs mor ryfeddol o ddisynwyr.

Aeth un flwyddyn heibio, ond nid oedd yno ysgol-

dy nac ysgol. Dywedai ein pobl, "Yn sicr, fe ddechreua adeiladu y flwyddyn nesaf." Aeth yr ail flwyddyn heibio; ac eilwaith ceisiwn dawelu yr holi a'r murmur, canys yr oedd genyf o hyd ymddiried yn uniondeb ei amcan. Aeth y drydedd flwyddyn heibio; ac yna dechreuodd y bobl dduon ddweyd wrthyf, "fy mod mewn cyngrair âg ef, a'i fod ef a minnau mewn rhyw ffordd yn enill manteision arianol oddiwrth feithriniad y darn godidog hwnw o dri chant o erwau o dir ar fin yr Afon Sydenham."

Daeth ei amgylchiadau arianol i ddyryswch cyn hir, a benthycodd genyf rai canoedd o ddoleri, i gyfarfod ei filiau, ac aeth y bedwaredd flwyddyn heibio; etto nid oedd yno ysgol. Cynaliai ei deulu a theulu ei frawd-yn-nghyfraith o'r fferm a berthynai i'n pobl dduon ni. Gwir, y deuai teulu ei frawd-yn-nghyfraith, oherwydd cyfyngder eu hamgylchiadau, yn fynych i'm tŷ am ymborth, a rhoddai fy ngwraig iddynt y pethau goreu fyddai ganddi. Aeth y bumed, y chweched, y seithfed, yr wythfed, a'r nawfed flwyddyn heibio, ond nid oedd genym ysgol, ac nid oedd neb a allai wneud unrhyw gyfnewidiad. Nid oedd ganddo deitl i'r tir, felly nid oedd ganddo hawl i werthu dim, a pheth tra ffortunus oedd hyn yn ddiau. Dywedaswn drachefn a thrachefn wrtho, "Mae y bobl yn grwgnach." Attebai yntau, "Gadewch iddynt rwgnach." Gwrthodai yn ddiamrywiad ddadleu y cwestiwn. O'r diwedd, wedi i naw mlynedd fyned heibio, dechreuais amheu dybenion y dyn, a meddyliais y dylaswn gael ymddyddan difrifol âg ef ar y pwnc, a mynu gwybod beth oedd yn fwriadu wneud. Dywedais wrtho mor foesgar

ag y gallaswn, "Mae y bobl oddeutu yma yn dechreu siarad yn bur galed yn eich cylch chwi a minnau, ac nid oes arnaf eisieu iddynt gael unrhyw achos i feddwl yn ddrwg am danom. Os byddwch mor garedig a rhoddi i mi ryw awgrym pa bryd y bwriedwch ddechreu ar yr ysgol-adeiliau, mi a allaf eu boddloni." Attebodd yn chwyrn, "Pan fyddaf yn barod; pan welwyf yn dda." Dywedais yn addfwyn, "Mae yn dra anffortunus i mi, canys amheuir fy anrhydedd, yn gymaint a'm bod bob amser yn eich amddiffyn."

"Beth yw eich anrhydedd i mi? Nid wyf yn gofalu beth ddywedant." Ychwanegodd mewn dull tra derchafedig, "Ni ddaethum yma er mwyn i'r bobl dduon ddweyd wrthyf beth i'w wneud."

Attebais, "Os nad ydych mewn gwirionedd yn bwriadu adeiladu ysgol i ni, dylech adael y fferm, a rhoi cyfle i ni drin pethau ein hunain."

Gyda pheth cyffro dywedodd, "Talwch i mi yr hyn a weriais yn ceisio gwneud i'r lle hwn gyfarfod ei dreuliau, a myfi a äf ar unwaith."

Cwympodd y cen oddiar fy llygaid; gwelwn drwy amcanion y dyn. Aethum at y bobl dduon a dywedais wrthynt yn drist, "fy mod wedi fy nhwyllo yn fawr, na byddai genym byth ysgol hyd oni enillem feddiant o'r eiddo; ac y gwnaethwn, pe yn meddu gallu twrne i weithredu drostynt, ymgynghori â chyfreithiwr abl, a mynu gwybod beth ellid wneud." Galwyd yn nghyd gynghorfa o bobl dduon y lle. Rhoddasant i mi allu twrne i archwilio y mater a gweithredu drostynt. Aethum yn union i Gaerludd, Canada, a rhoddais yr achos ger bron y

Cyfreithiwr Wilson, a wnaed wedi hyny yn farnwr, a'r Cyfreithiwr McKenzie, dau enwog fel cyfreithwyr. Addawsant bwyso y mater yn ofalus, a gadael i mi wybod y canlyniad. Yn mhen oddeutu tri mis anfonasant i mi air, "os gallwn gael dau ddyn sylweddol, y naill yn ddu a'r llall yn wyn, y rhai a feddant dir o'u heiddo eu hunain, ac heb arno ddyled, i ymwystlo y talent y costau, yna y gwnaent hwythau gymeryd yr achos i fyny." Dywedent "y byddai yn rhaid i mi sefyll o'r golwg, tra mai y ddau ddyn hyny fyddent yr 'adroddwyr' amlwg." Daethum o hyd i'r dynion y noswaith hono, ac ymwystlais y talwn y costau fy hun os caniateid i'w henwau hwy gael eu defnyddio. Dygodd y cyfreithiwr cyffredinol y cyngaws am ball-cyflawniad o'r ymddiriedaethau, yn nghyda cham-weinyddiad amgylchiadau yr ysgol. Amddiffynid y boneddwr gan gyfreithiwr medrus o Toronto, a dechreuodd y frwydr o ddifrif. Ar y cychwyn, telais ddau gant o ddoleri, a benthycais arian o bryd i bryd drwy godi *mortgage* yn gyntaf ar un tŷ a darn o dir, yna tri o dai a'r darnau i'w canlyn, yna ail-godi *mortgage* arnynt, yna gwerthu amryw lotiau i dalu y *mortgage*, yna ail-godi *mortgage* drachefn; beunydd fe elwid arnaf i dalu symiau o arian i'r cyfreithwyr. Cyfnod pryderus, dyryslyd ydoedd, canys cymerid yr achos o lys i lys, nes yr aeth *saith* mlynedd heibio, pryd o'r diwedd, yn flinedig a gofidus, y cynnygiai y cyfreithiwr ei roddi i fyny fel *non-suit* os byddai i'w dreuliau am y saith mlynedd gael eu talu. Cytunasom oll â hyn, a chafodd yr achos pwysig ei benderfynu yn ein ffafr. Yna appwyntiwyd ymddiriedolwyr newyddion gan Lys y *Chancery*, a chaniatawyd bil i.

gyd-gorphori y sefydliad fel Prifysgol Wilberforce, ac hefyd awdurdod i werthu y tir, pa un a ddygai o gylch 30,000 o ddoleri, sef £6,000 mewn arian, gyda darpariaeth fod i'r brifysgol gael ei chodi ar ddarn o dir yn yr un swydd. Dewiswyd tref Chatham, Canada, ac am bedair blynedd bu yr ysgol yn *hunan-gynaliol*, ac yn cael ei mynychu gan ysgolheigion lawer.

Fel hyn y dybenodd saith mlynedd o benbleth a chyffro. Yn eu hystod dysgais lawer o wersi ymarferol.

Yn nechreu yr ymrysonfa gadawodd y boneddwr y fangre, gan appwyntio ei fab i fod yn feistr ar yr eiddo yn ei le. Yr oeddwn wedi prydlesu darn o dir perthynol i fferm yr ysgol, a'i aredig am nifer o flynyddoedd. Pan glywodd y boneddwr ieuanc hwn fod fy nynion i yn aredig y tir, anfonodd air i erchi iddynt "fyned ymaith oddiar ei dir ef." Dywedais wrth fy nynion, "Ewch yn mlaen â'ch gwaith o aredig boreu yfory, a byddaf yno i'ch amddiffyn."

Y boreu nesaf dechreuodd fy nynion ar eu gwaith. Yn fuan ymddangosodd y boneddwr ieuanc yn y llecyn gydag amryw o ddynion. Gorchymynodd i'r eiddof fi "ymadael ar unwaith." Yr oeddwn yn ymyl, a dywedais, "Cymerais brydles ar y tir hwn gan eich tad; a chyhyd ag y ceidw ef feddiant o'r holl fferm, y mae genyf hawl gyfreithlawn i weithio y dernyn hwn, ac yr wyf am amddiffyn yr hawl hono."

Dywedodd yn addfwyn, "Beth, Mr. Henson, ai chwi sydd yna? Meddyliais mai dyn yn gweddio, ac nid un am ymladd oeddych."

Attebais, "Pan fo yn angenrheidiol gallaf ymladd,

megys y gwnaethum dros Canada pan ydoedd mewn helbul. Bwriadwyf barchu hawliau eraill, a rhaid iddynt hwythau barchu yr eiddof finnau." Dechreuodd lidio yn fuan; yn gyntaf daeth geiriau, yna dyrnodiau. Nis gallwn ei attal rhag archolli ei ben amryw weithiau yn erbyn fy ffon gerdded drom, yr hon a ddaliwn o'm blaen, er troi ymaith yr ergydion y ceisiai eu cyfeirio attaf. Pan flinodd ar y math hwnw o chwareu, aeth ymaith gan furmur bygythiad, y byddai iddo "fy ngwasanaethu â *writ* yn uniongyrchol." Ar unwaith rhoddais y ceffyl cyflymaf oedd genyf wrth fy mhedrolfen, ac ymaith â mi at yr hedd-ynad agosaf yn nghwmni cwnstabl. Caniataodd yr hedd-ynad y *writ* i mi yn uniongyrchol yn erbyn y boneddwr ieuanc. Pan ddychwelem, cyfarfuom âg ef o fewn milldir i orsaf y rheilffordd. Bwriadasai fyned i weled ei dad, ac yna codi *summons* yn fy erbyn. Neidiodd y cwnstabl i lawr, rhoddodd ei law ar ei ysgwydd, a dywedodd, "Yr ydych yn garcharor i mi, yn enw y Frenhines, am ymosodiad a churo Josiah Henson ar ei dir ei hun."

Syrthiodd ei wedd, ac yr oedd yn llidiog iawn, yn enwedig pan orfodid ef i gerdded pymtheng milldir i Dresden i'r llys i gael ei brofi. Symudai ei gyfreithiwr y prawf o lys i lys, hyd nes yn London, Canada, y gorfodwyd ef i dalu y costau a *bonus* i ddybenu y cyngaws. Ni roddodd i mi drwbl pellach, canys gwelai fod genyf wybodaeth ymarferol o gyfreithiau cyffredin y wlad. Dangosai yr amgylchiad hwn pa mor bwysig oedd i'r bobl dduon fod yn abl i amddiffyn eu hiawnderau naturiol a diwahaniad wedi y delent yn rhydd-freinwyr ac yn ddinasyddion o Canada.

# PENNOD XXVII.

## DRYLLIO EILUNOD.

TYNGED Y FELIN LIFIO.—Y MODD Y DIFLANODD Y FELIN YD RYW NOSWAITH.

GAN i gynifer o'm cyfeillion arddangos dyddordeb yn hanes y felin lifio a godwyd ar dir ein hysgol, diau y gwerthfawrogir ychydig eiriau yn nghylch ei thynged. Anturiaeth fawr ydoedd sicrhau yr arian oedd yn ofynol i brynu y defnyddiau at y felin, a'i hadeiladu, a mawr oedd y cyfrifoldeb o'i gweithio yn llwyddianus. Buasai yn parhau i fod yn *investment* tra buddfawr, fel yr oedd ar y cyntaf, pe cawsai ei harolygu yn briodol; oblegid y mae yr Afon Sydenham yn fordwyol i longau, a gallem anfon y coed hyd y dwfr i Detroit, neu braidd i unrhyw barth o'r Unol Daleithiau.

Er nad oedd ysgol ar y tir, yr oedd y felin wedi ei phrydlesu i ddyn yr hwn a roddai waith i ddeugain neu ddeg a deugain o ddynion; a hwy weithient yn ffyddlawn, llifient filoedd lawer o droedfeddi o goed, ac anfonid y coed mewn llongau o bryd i bryd i wahanol borthladdoedd. Wedi blynyddoedd llwyddianus lawer, daeth cyfnod o ddirwasgiad, yn gwbl oblegid na thalai y dyn a ddaliai y felin ar brydles

ddigon o sylw gofalus i'w fusnes. O'r diwedd, wedi llifio coed lawer, llanwodd dair o lestri â'r unrhyw, a hwyliodd y rhai hyn i ryw borthladd anadnabyddus. Aeth y dyn ymaith gan adael ei weithwyr mewn cyflwr o eisieu mawr, gyda'u cyflogau mewn *arrears*. Rhoddai y gair allan ei fod yn myned ymaith i barotoi cyflenwadau pellach erbyn y dyfodol. Nid oedd gan y dynion arian, ac ni allent gael angenrheidiau bywyd fel o'r blaen. Disgwyliasant nes dyfod yn argyhoeddedig nad oedd eu meistr yn bwriadu dychwelyd; yna hwy arllwysent eu teimladau digofus a dialgar yn erbyn y felin ei hun, a thorasant i fyny ei sylfeini. Fel hyn, mewn gorwylltedd y distrywient hwy yr adail werthfawr hon, sefydliad yr hon a gostiasai i mi gynifer o oriau pryderus, ac a brofasai yn gyfran mor werthfawr o eiddo yn fy nwylaw. Wedi iddi fyned, teimlwn fel wedi fy ngorfodi i ymadael â rhyw eilun anwyl o gyfaill.

Er fod Canada yn dir rhyddid i'r caethion ffoedig, etto hwy gyfarfyddent ar y cyntaf â'r fath ragfarn, ar gyfrif eu lliw, fel mai gydag anhawsdra y gallent ddod i feddiant o gysuron cyffredin bywyd. Pan eisieu malu eu hŷd, caent mai nid mater hawdd fyddai. Teithiai dyn dair neu bedair milldir gyda dau neu dri bwsiel ar ei ysgwyddau, drwy lwybrau yn y rhai y byddai llaid i fyny hyd y gliniau, gadawai ei ŷd yn y felin, ac yna elai i'w ymofyn lawer gwaith yn ofer; rhoddid ef ymaith gydag amrywiaeth o esgusodion, nes ei ddigaloni yn hollol, a'i ddwyn i benderfynu braidd mai gwaith ofer fyddai iddo feddwl am godi ŷd mwyach; ac etto, nid oedd

un ffordd arall iddo gael tamaid o fara, neu o ŷd-deisen. Yr oeddwn wedi blino yn gwrando ar y cwynion hyn, gan fod yma gamwri hollol; ac er nad oedd genyf gymaint a doler i'w hebgor yn fy llogell, penderfynais fel yr unig feddyginiaeth i godi melin ŷd, a fyddai yn annibynol ar bob un arall, ac felly helpu y bobl dduon allan o'u cyfyngderau.

Yn ganlynol aethum i Boston, Mass., i blith fy nghyfeillion mwyaf aiddgar, a dywedais wrthynt am anghenion yr achos, a thrwy eu cynorthwy haelfrydig—pa un, diolch i Dduw, na phallodd i mi erioed mewn awr o angen—cesglais yn fuan 5,000 o ddoleri, neu £1,000; tynwyd i mi gynllun, trefnais yn nghylch adeiladu, dygais nerth ager i'w gweithio, ac mewn byr amser yr oeddym yn malu ŷd i'r holl gymydogaeth, a throai yr anturiaeth allan yn llwyddiant hollol.

Pan ddechreuodd yr helynt cyfreithiol, ni ewyllysiwn gael unrhyw drwbl gyda y boneddwr ieuanc a roddasid ar dir yr ysgol yn nghylch y felin ŷd, yr hon a ardrethwyd genyf i ryw ddyn. Ychydig amser cyn hyny, cynnygiais, o ganlyniad, werthu y felin hon, am ei bod yn perthyn i mi yn bersonol; ond cydsyniais i'w symud oddiar dir y sefydliad, yn gymaint ag nad oedd genyf brydles ar y tir ar ba un y cawsai ei hadeiladu, felly rhaid oedd i mi droi at ystryw er cwblhau fy mwriad. Fy mab-yn-nghyfraith oedd y melinydd, a chydsyniai ar unwaith â'm cynnygiad, sef, fod i ugain o ddynion gael eu cuddio un nos Sul yn y felin, ac mor fuan ag y tarawodd haner nos, yr oedd y dynion hyn i gymeryd y felin i lawr yn ofalus, a symud pob rhan o honi,

yn seiliau, peiriant, a choed, i ychydig bellder yn mlaen i'r ffordd, yr hon oedd yn brif-ffordd gyffredin. Erbyn deg o'r gloch boreu dydd Llun yr oedd y felin wedi diflanu, megys drwy swyngyfaredd, o'i hen orphwysle; ac erbyn canol dydd yr oedd wedi ei chludo ymaith gan ddeg neu ddeuddeg o weddoedd ag oeddynt yno yn barod, hwnt i Dresden. Buan y gosodwyd hi i fyny; ac erys yno hyd y dydd hwn, mewn cyflwr gweithio ysblenydd.



## PENNOD XXVIII.

### CAETHION FFOEDIG YN YMRESTRU YN Y TALEITHIAU.

CYMERYD I FYNY ARFAU DROS FY NGWLAD.—RHYFEL CARTREFOL YN AMERICA.—MEWN PERYGL O GAEL SAITH MLYNEDD O GARCHARIAD.—RHAGLUNIAETH NEILLDUOL YN FY NGWAREDU.

YN ystod y gwrthryfel yn Canada, appwyntiwyd fi yn gadben ar yr 2il Essex Company o Wirfoddolwyr Duon. Er nas gallwn ddal mwsged ar fy ysgwydd, gallwn gario cleddyf. Daliai fy nghwmni i Fort Maldon o'r Nadolig hyd Mai dilynol, a chymerodd hefyd y *schooner* Ann, a'r cyfan oedd ynddi, sef tri chant o arfau, dwy fagnel, a mwsgedi, a chad-arlwyon ar gyfer y gwrthryfelwyr. Ymdrechfa ffyrnig a dewrwych oedd hon, a gwnaeth lawer tuag at dori i fyny y blaid wrthryfelgar, canys ni allent gael arlwyon tra y daliem ni yr amddiffynfa, yr hyn a wnaem hyd nes y rhyddhawyd ni gan brif-swyddog y 44ain Gatrawd o Loegr. Yr oedd y dynion duon yn ewyllysgar ddigon i helpu amddiffyn y llywodraeth a roddasai iddynt gartref wedi ffoi o honynt o gaethiwed.

Troisid fy nghleddyf i yn swch. Pan dorodd y rhyfel cartrefol allan yn America, yr oedd gan y bobl dduon yn Canada rywfodd feddwl mai y can-

lyniad o hono fyddai diddymiad caethwasiaeth. Pe buaswn i yn gallu cario gwn, buaswn yn myned yn bersonol, ond meddyliwn mai fy nyledswydd oedd siarad â'r bobl. Dywedais wrthynt, "y dylai y rhai oeddynt ieuainc a chryfion fyned i'r maes fel dynion, y dylent sefyll i fyny drwy bob artaith, a helpu y llywodraeth." Ymrestrodd fy mab hynaf, Tom, yr hwn oedd yn California, i fyned ar fwrdd rhyfel-long yn San Francisco; a thybiwyf mai ei ladd a gafodd, oblegid ni chlywais oddiwrtho byth ar ol hyny.

Ymrestrodd fy mab-yn-nghyfraith, Wheeler, yn Detroit. Cynghorais y bobl, mewn ymadroddion cyffredin, i wneud yr un fath, a dywedais os ewyllysiai neb o honynt ymrestru yn gynar, fel ag i sicrhau y *bounty* cynnygiedig, y gwnawn ddarparu ar gyfer eu teuluoedd hyd nes y gallent anfon yr arian hyny iddynt. Aeth nifer, a chollodd rhai eu harian *bounty* drwy fod "*sharpers*" yn gwylio am danynt. Felly cynnygiais fyned gydag ail fintai, fel na phoenydid hwy yn y ffordd hon. Yr oedd un dyn, o'r enw John Alexander, wedi penderfynu myned yn yr ail gwmni yma. Yn ganlynol, anfonais gig moch a dillad o'r *stores* i'w wraig a'i deulu, am eu bod yn dlodion. Yn y diwedd, llithrodd oddiwrthyf, ac yn fy absenoldeb mynegodd yn fradwrus ac annghywir, "fy mod wedi ceisio ei ddenu ef ac eraill i ymrestru." Tystiolaethodd yn y modd hwn hyd yn nod o flaen hedd-ynad; ac anfonodd fy ngwraig attaf gyda'r pellebyr am i mi "aros yn Boston, am fod *writ* yn barod i'm cymeryd i fyny mor fuan ag yr ymddangoswn yn Dresden, ac os profid y cyhuddiad, y gosb,

dan y *Foreign Enlistment Act*, fyddai saith mlynedd o garchariad." Ar y cyntaf, meddyliais am aros ymaith hyd nes i'r cyffro dawelu. Yna ystyriais i mi wneud yr hyn a wnaethum er mwyn achos Crist, a chyda dybenion da; fod y rhyfel yn un cyfiawn; y dylasai y bobl dduon gymeryd rhyw ran ynddo. Dywedais wrth un o'm cymdeithion, "Gyda Duw yn gymhorth i mi, ni wnaf redeg ymaith, gan na wnaethum unrhyw gam."

Dychwelais yn fuan i Dresden, a daethum mewn pedrolfen at fy nrws fy hun, yn y dull mwyaf cyhoeddus; canys nid cywilydd oedd genyf i neb fy ngweled. Yr oedd hyn ar brydnhawn dydd Iau, oddeutu pedwar o'r gloch. Yr oedd fy nheulu mewn cyffro mawr, a chyda dagrau yn eu llygaid, erfynient arnaf fyned ymaith; ond dywedais, "Rhaid i mi aros a chael y gwarthrudd hwn wedi ei glirio i fyny yn gyhoeddus, gan fod yr holl drigolion wedi bod yn ei ddadleu." Boreu dranoeth, sef Gwener, cyn saith o'r gloch, daeth y cwnstabl, hen gyfaill, yn mlaen at fy nghartref. Yr oeddwn yn eistedd ar y *fence*, ac yn siarad â'm mab-yn-nghyfraith. Dywedai y cwnstabl yn ddifyr, "Boreu da, Mr. Henson; a oes genych ddim pytatws ar werth?" "Bore da," meddwn innau. "Oes, y mae genyf rai." "Hoffwn brynu ychydig, os gellwch hebgor rhyw gymaint." "Faint sydd arnoch eisieu?" "Deg neu bymtheg o fwsieli." "Gallaf hebgor cant o fwsieli." "O, nid oes arnaf eisieu cymaint." "O'r goreu, yr wyf yn tybied mai rhyw un bytaten ddu oddeutu fy maint i sydd arnoch eisieu, a chwi ellwch ei chael os deuwch i'w chymeryd."

Yna daeth yn mlaen ar unwaith, rhoes ei law ar fy ysgwydd, a dywedodd, "Mr. Henson, yr ydych yn garcharor i mi yn enw y Frenhines. Dyma *writ* i chwi."

"Pob peth yn iawn, Bill." Ei enw oedd William Nellis. "Gadewch i mi gael tamaid o foreufwyd, ac yna gellwch fy nghael." Aethom i'r tŷ, lle yr oedd fy ngwraig a'm plant yn wylo. Cymhellais y cwnstabl i fwyta, ond gwrthodai gan ddweyd ei fod wedi cael ei foreufwyd. Buom yn siarad am hanèr awr. Yna cymerais fy het, a dywedais wrtho, "Yr wyf yn barod; pa fodd yr ydym yn myned? Dywed y *writ* eich bod i'm cymeryd."

Dywedai y cwnstabl, "Os bydd i chwi gael eich ceffyl a'ch *waggon* yn barod, talaf fi am dani." "Ni wnaf ddim o'r fath beth; rhaid i chwi fy nghymeryd ac os nad oes genych un ffordd arall, ewch i ymofyn berfa-olwyn (*wheel-barrow*), canys ni cherddaf gyda chwi." Ymresymai gyda mi am awr neu ddwy, hyd nes oedd yn tynu at ganol dydd. Yna dywedais, "Gellwch fyned i'ch ffordd pryd y mynoch, a gellwch ddweyd wrth yr yswain y byddaf yno yn fuan."

Cefais fod dau o ynadon medrus wedi trefnu pob peth cyn i mi ddyfod gartref. Ni chaniateid i mi wneud amddiffyniad neu gael cyfreithiwr i ddadleu fy achos. Yr oedd un o'r ynadon yn rhagfarnllyd yn fy erbyn ar gyfrif y dyddordeb a gymeraswn yn y cyngaws yn erbyn ymddiriedolwyr yr ysgol; yr oedd y llall, Squire Terrace, yn gyfaill i mi. Ond rhaid oedd i'r ddau benderfynu yn gyfreithiol; a phe buasent yn cytuno yn nghylch yr esboniad ar y gyfraith, ni buasai un cyfle i mi appelio o lys yr

ynadon. Nid oeddynt yn cytuno, a chyfeiriwyd yr achos at yr ynad agosaf. Wedi iddo glywed y tystiolaethau, nis gallai benderfynu, a chynnygiwyd ymgynghori â chyfreithiwr y sir, Mr. McLean, o Chatham, yr hwn oedd gyfaill i mi. Gweithiaswn yn ffyddlawn i'w daid, a'r teulu a'm cyfrifai yn ddyn a gadwai ei air yn gydwybodol, ac a ymdrechai gyflawni pob dyledswydd adnabyddus. Dywedai Mr. McLean, "Y mae yn rhyfedd genyf gael y cyhuddiadau hyn yn erbyn Mr. Henson. Y mae yn ddyn synwyrol, ac yn gwybod y cyfreithiau yn well na'r rhan fwyaf o bobl. Rhaid fod ysgriw llac yn rhywle yn yr helynt hwn. Os yw yr hyn a fynegodd John Alexander, ar ei lw, yn wirionedd, nis gall dim attal Mr. Henson rhag saith mlynedd o garchariad yn Kingston, dan Ddeddf yr Ymrestriad Tramorawl, pa un ni chaniata i ddyn hudo neu berswadio un arall i ymrestru i'r fyddin. Mr. Henson, rhoddwch i mi eich adroddiad o'r achos."

Yna dywedais yr holl wir, air am air, ac heb gilio trwch blewyn oddiwrtho. Addefais i mi roddi arlwyon i wraig John Alexander, a dywedais, "Y buaswn yn eu rhoddi i rywun, gwyn neu ddu, pe buasent genyf i'w rhoddi, a'r person mewn angen am danynt; eithr ni feddyliais y byddai i'r dyn droi fy haelfrydigrwydd i'm herbyn yn y dull iselwael hwn." Canfyddwn mai dyma yr unig brawf oedd ganddynt, a galwai y dyn y peth yn llwgrwobrwyaeth o'm tu i, i geisio ganddo ef ymrestru.

Dywedai yr Yswain McLean, "Yr ydym oll yn adnabod cymeriad Mr. Henson, ei fod yn ddyn gonest, uniawn, a christionogol. Yn awr, beth yw

nodwedd ei gyhuddwr? Dydd Sadwrn yw heddyw; oedaf fy nedfryd hyd fore dydd Llun, ac yn y cyfamser gellir gwneud ymofynion yn nghylch geirwiredd John Alexander."

Pa fodd yr oeddwn i gael fy rhyddhau o'r rhwyd gyfreithiol a daenid o'm deutu, ni wyddwn; ond ymddiriedwn yn Nuw; gwyddwn ei fod wedi fy ngwaredu laweroedd a llaweroedd o weithiau o ffau y llewod; ac fel Daniel yn yr hen amseroedd, rhoddwn innau yn awr fy ffydd ynddo. O'm calon gwaeddwn allan, "O Arglwydd, gwared fi; eithr pa un bynag ai yn ngharchar, ai dan awyr rydd y nefoedd, mi a folianaf dy enw mawr a sanctaidd."

Er yn parhau dan ofal y cwnstabl, caniateid i mi fyned adref prydnhawn Sadwrn. Galwodd dyn y noswaith hono yn fy nhŷ a dywedodd wrthyf, "Mae yna ddyn yn llwytho ei gwch i fyny yr afon ychydig; y mae yn dyfod o'r rhanbarth hwnw lle y preswyliai John Alexander, cyn iddo ymwibio oddeutu Dresden. Dywed y Smith hwn fod Alexander yn lleidr, iddo ladrata nifer o ddillad oddiar *line* mewn buarth yn y fan hono, a phethau eraill, a bod *writ* wedi cael ei thynu allan i'w ddal ef, ond iddo redeg ymaith; ac yn awr y mae ef yn ceisio anfon dyn diniwed i garchar drwy ddweyd nifer o gelwyddau, ac fe ddylid ei attal."

Mor fuan ag y gadawodd y dyn hwn fy nhŷ, rhoes y cwnstabl ganiatad i mi alw ar yr Yswain Terrace. Nos Sadwrn oedd hyn. Rhoddais iddo sylwedd yr hyn a ddywedai y dyn wrthyf am wybodaeth Smith o John Alexander. Dywedodd yr yswain, "Ewch adref, a byddwch dawel dros y Sul;

oblegid cyn i'r haul godi boreu dydd Llun byddaf wrth yr afon, ac os deuaf o hyd i'r Smith yna, ac iddo yntau dystiolaethu fel yr arddangoswyd genych chwi, mynaf ef i'r llys boreu dydd Llun erbyn naw o'r gloch."

Arosais yn dawel dros y Sul, a llawn oedd fy enaid o lawenydd a gorfoledd am y rhagluniaeth annisgwyliadwy yma o eiddo Duw, yr hon y teimlwn yn sicr a wnelai fy ngwaredu. "Tybiwch na bydd ef i'w gael?" ebe un o'r teulu. Attebais, "Ond bydd i'w gael, yr wyf yn sicr." Er fod fy nhynged yn hongian ar edefyn oedd hawdd i'w dori, nid ofnwn unrhyw ganlyniadau anhyfryd.

Ben boreu dydd Llun, yr oedd yr Yswain Terrace wrth lan yr afon; gwelai y cwch ryw haner milldir oddiwrtho; gwaeddodd arno, a dywedodd, "A oes dyn o'r enw Smith ar y cwch yna?" "Myfi yw y dyn, syr." "Deuwch i'r lan; y mae arnaf eisieu siarad â chwi." Yna dywedodd Smith wrth yr ynad, iddo fod yn gweithio gydag Alexander, ac "mai lleidr iselwael, celwyddog ydoedd, ac y gallai ef brofi hyny." "Digon; yr wyf yn eich rhwymo i ymddangos yn y llys y boreu yma am naw o'r gloch i dystiolaethu yn yr achos hwn,"—felly yr attebai yr Yswain Terrace.

Yr amser a ddaeth. Deallid yn y llys fod yno un i dystiolaethu am gymeriad John Alexander, yr hwn oedd bresenol mewn tymer meddwl derchafedig iawn. Galwyd ar y tyst ger bron. Dywedai y cyfreithiwr, "Chwi fuoch yn gweithio gyda John Alexander; a yw ef yn ddyn teilwng o ymddiried? A oes ganddo gymeriad da, y gellir dibynu arno?"

Dywedodd Smith, "Un o'r cnafiaid penaf ag sydd allan o garchar yw efe." Yr oedd Alexander oddeutu dweyd yn groes iddo; pryd yr edrychodd Smith yn llym yn ei wyneb, a dywedodd, "Gwyddoch pe rhoddech eich troed ar y fan lle y gweithiech gyda mi, y bwrid chwi i garchar, lle dylech fyned pe caech eich haeddiant." Gwaeddai yr Yswain McDonald, "Beth ydych yn ddweyd? Ai *rogue* yw y dyn—a oes ganddo yr un cymeriad?"

"Nid oes ganddo yr un, syr; ond rhaid oedd iddo 'dori fyny,' fel y dywedwn i fyny yn y wlad—hyny yw, 'fe gymerodd y goes,' a rhedodd ymaith."

"Wel," ebe yr Yswain McDonald, "os nad oes gan John Alexander gymeriad, rhaid rhyddhau Mr. Henson." Yr oedd wedi ei synu oherwydd presenoldeb y tyst yn llawn cymaint a'm cyhuddwr. Afreidiol dweyd fod fy nghyfeillion a'm teulu yn cyd-lawenhau â mi oblegid y waredigaeth nodedig hon. Anfonais air at John Alexander, "fod y byd, neu y rhan hwnw o hono lle yr oeddwn i yn preswylio, yn rhy gyfyng iddo ef a minnau; fod ofn arnaf os croesai ef fy llwybr y temtid fi i'w saethu." Yr oedd ef mewn dychryn, canys gwyddai ei fod yn haeddu ei saethu, neu gael curfa erwin. O'r diwedd, anfonodd drwy gwplo gyfeillion ddeisyfiad gostyngedig am i mi faddeu iddo. Dywedais wrthynt fod yn rhaid iddo ddod attaf yn bersonol, a chydnabod ei fryntwch dirmygus yn mhresenoldeb tri o'm cyfeillion, y rhai a enwid genyf. Daeth ar amser pennodedig, ac ar ei liniau cyffesodd ei bechod a'i anniolchgarwch i mi am fy ngharedigrwydd i'w deulu; ac yn enw yr Arglwydd erfyniai fy maddeuant.

Dywedais, "Yr oedd yn un o'r pethau distadlaf a allasech wneud i'm gwaradwyddo yn fy absenoldeb, pan mai fy nghymeriad oedd y peth gwerthfawrocaf oedd genyf i ofalu am dano. Haeddech eich crogi, a chefais fy nhemtio i wneud ymaith â chwi; ond gadawaf chwi yn nwylaw y Goruchaf; iddo ef y perthyn dial, ac nid i mi. Yr wyf yn maddeu i chwi. Ewch, ac na phechwch mwy."

Cyn hir iawn wedi hyn bu digwyddiad hynod arall, cysylltiedig â'r rhyfel cartrefol, a fygythiai roddi peth trallod i mi. Ymrestrodd llawer yn y taleithiau, yn wynion a duon, yn unig er mwyn derbyn y *bounty*; ac yna hwy "neidient y *bounty*," fel yr arferid dweyd—hyny yw, cymerent yr arian, ond nid aent i'r fyddin. Dywedodd cyfaill o'r eiddof, Alexander Pool, yr hwn oedd ddyn du o'm cymydogaeth, wrthyf, "fod ei fab ef a brawd ei fam yn siarad yn nghylch rhedeg ymaith i ymuno â'r fyddin; ond meddyliai y dylasai gael y blaen-dâl hwn iddynt, ac ewyllysiai i mi eu cymeryd i Detroit, a'u cynghori beth i wneud." Attebais nad oeddwn "yn meddwl gosod fy hun yn agored i brawf arall ar y cyfrif yna. Nid wyf yn gofalu pa un a wnant ai ymrestru ai peidio; yr un pryd, os ydynt yn myned i'r rhyfel, dylech gael peth o'u *bounty*; galluogai hyn chwi i dalu am eich tir, ond nid yw yn fy ngallu i i'w rhestru."

Mynych y gofynodd fy nghyngor yn nghylch y ffordd i fyned i Detroit, ac o'r diwedd, deisyfai arnaf eu dilyn yno, a chynygiai dalu fy nhreuliau, ac yna collais yn fy mhenderfyniad. Dywedais wrth y bechgyn, "Nid wyf yn ewyllysio i chwi ymrestru, ond er mwyn eich tad äf gyda chwi

i Detroit i'ch amddiffyn rhag y *sharpers.*" Ni a aethom, a rhoddasant eu henwau i lawr fel Martin Pool, a Basil Pool, ac arddangosent eu hunain fel dau frawd. Meddyliwn erbyn hyn, fod yn debyg mai eu cynllun oedd rhedeg ymaith, ond cymerodd y swyddog afael ynddynt, a chyflwynodd i mi swm o arian mewn *envelope* yn gyfeiriedig i'w tad. Cymerais o'r swm yma gan' doler, ac a'u hanfonais i'r bechgyn. Cymerais y gweddill, un cant ar ddeg o ddoleri, i'w tad. Rhoddodd i mi bedwar cant at fy nhreuliau a'm trafferth. Ni welsai y tad erioed gymaint o arian ag oedd ganddo yn awr yn ei feddiant, ond yn lle eu defnyddio i ddyben da, fe'u gwastraffai mewn afradlonedd. Aeth y bechgyn hyn i'r rhyfel, buont mewn amryw frwydrau, daethant yn ol, a chawsant eu rhyddhad. Gofynent am ryw gymaint o'r *bounty-money* yn ol gan eu tad. Cymerai arno nad oedd ef wedi derbyn dim. Yna dywedent, "fod yn rhaid mai fi a'u cadwodd," ac yr oeddynt yn ddig iawn. Hawlient gael yr arian genyf fi, ond dywedais yn llidiog wrthynt "y gallent fyned yn ol at eu tad, a gofyn iddo ef am danynt." Aethant i ymgynghori â chyfreithiwr, yr hwn a'u hanfonodd at yr Yswain McDonald, yr ynad a ddygai yn mlaen fy achos yn erbyn John Alexander. Dywedodd, "Yr wyf yn synu os bu dim a wnelai Mr. Henson â rhestru dynion i'r fyddin, canys gŵyr ef y gyfraith yn yr achos; cynghorwn chwi i beidio gwneud cynwrf yn nghylch y mater, ond myned gyda mi i'w weled. Efallai y gallaf ei berswadio i dalu rhyw gymaint i lawr i chwi, ac yna drwy gyfran-daliadau yn y dyfodol i wneud i fyny y gwahaniaeth." Galwodd heibio i mi gyda y bechgyn

hyn, a dywedodd, "Yr wyf yn rhyfeddu i chwi restru y dynion hyn, a gwneud defnydd o'u *bounty.* Gelwais i awgrymu, Mr. Henson, fod i chwi dalu rhyw gymaint iddynt heddyw, ac yna chwi ellwch drefnu i wneud i fyny y gweddill ryw amser fyddo yn fwy cyfaddas."

Attebais, "Yswain McDonald, nis gwn at beth yr ydych yn cyfeirio. Ni wnaethum yr hyn a ddywed y dynion hyn." Troais attynt, a dywedais, "Yr wyf yn tybied fod eich papurau rhyddhad genych?" "Oh, ydynt," attebai Basil Davis yn chwanog, heb amheu i'r mesur lleiaf fy amcan yn dymuno eu gweled. Tynodd yr eiddo ef allan o'i logell. Troais at yr Yswain McDonald, a dywedais, "Gwell fyddai i chwi edrych ar ol y dyn hwn; ymrestrodd a rhyddhawyd ef dan ffug-esgus. Paham nad arferasai ei enw iawn, oddieithr fod hyny i'w alluogi i redeg ymaith, a 'neidio y *bounty;*' ac yn awr, yn gymaint ag nas gallai lwyddo i ddianc, ond fod yn rhaid iddo wasanaethu yn y rhyfel, wele ef wedi dyfod yn ol, ac yn gwaradwyddo fy enw; byddai yn well i chwi edrych ar ei ol."

Gadawodd y *squire* a'i *clients* fi mewn heddwch yn dra buan. Fel yr ymgiliai eu cysgodion, nis gallwn lai na chwerthin allan yn uchel; a gwaeddi, "Er fod mwy o ffyrdd i ladd ci na'i borthi â melusdeisenau, rhaid cael bechgyn medrusach i gael y trechaf ar y Tad Henson na'r rhai ydynt newydd dalu ymweliad â mi." Dysgais wers arall, pa fodd bynag, a meddyliais mai gwell yn y dyfodol fyddai gadael i wirfoddolwyr duon enill profiad a doethineb drostynt eu hunain, heb roddi iddynt gyngor na chynorthwy personol.

## PENNOD XXIX.

### LLESTEIRIO YMGYRHAEDDIADAU BOREUOL.

DYMUNIAD AM DDYSGU SILLEBU YN CAEL EI DDEIFIO YN Y BLAGUR.—COELGREFYDD.—TERFYSG.—PREGETHU A'I GCSB.—CANIADAU NEGROAIDD.

DEILLIA adlewyrchiadau llymion o fellt allan o gymylau duon, daw geiriau bywiog o ffraethineb oddiwrth rai yn byw yn yr hofelau tywyllaf, a cheir fflachiadau dysglaer o ddeallgarwch oddiwrth blant a ddygwyd i fyny yn yr anwybodaeth llwyraf o lyfrau. Mynych yr ymddangosai yn ddirgelwch i mi, pa fodd yr enillais wybodaeth ymarferol o ffigurau, digon i werthu cynyrch pedair o ffermydd am bum' mlynedd ar hugain yn Washington; canys yr oedd genyf i gyfrif *fractions*, a gwneud amcangyfrifon mawrion, ac etto, ni astudiais rifyddiaeth erioed. Deuwn i gyfarfyddiad â llawer o'r boneddigion mwyaf deallgar yn Washington, canys arferwn ymfalchio yn y gwaith o ddewis yr ymenyn goreu i rai o'r teuluoedd goreu, a hyfryd fyddai genyf ei gymeryd i'w tai. Amlygent ddyddordeb mawr ynof; a phan ymddyddanent, gwrandawn yn astud, a chofiwn eu hymadroddion

a'u brawddegau, ac yn y ffordd hon dysgais siarad yn gywirach na'r mwyafrif o gaethion, neu hyd yn nod o bobl wynion dlawd y diriogaeth. Byth ni ddywedwn "*go dar,*" neu "*gib me,*" ac ymadroddion negroaidd eraill, canys awyddus oeddwn i efelychu y rhai a berchid genyf fel boneddigion. Enillais hefyd wybodaeth ymarferol dda iawn, drwy wrando ar gyfreithwyr medrus yn siarad ac yn egluro eu hachosion. Pe buaswn yn fachgen gwyn ac wedi fy mreintio â chyfleusderau i astudio y gyfraith yn fy ieuenctyd, yr wyf yn meddwl y buaswn yn ymhyfrydu yn y gwaith o'i hastudio a'i hymarfer. Effeithiodd y wybodaeth a "bigais i fyny" er fy ngalluogi mewn llawer o amgylchiadau i amddiffyn fy hawliau fy hun, a'r eiddo fy mhobl.

Ni allaf byth annghofio fy ymgeisiadau cyntaf at ddysgu sillebu. Yr oeddwn yn agos i dair ar ddeg oed, pan y bum agos a cholli fy mywyd oherwydd i mi wneud ymgais i enill y math hwn o wybodaeth. Yr ysgolion i'r plant gwynion yn gyffredin oeddynt bedair neu bum' milldir ar wahan, a pheth arferol i fachgen negroaidd oedd gyru plant ei feistr mewn pedrolfen i'r ysgol yn y boreu, a myned i ymofyn am danynt yn y prydnhawn. Yr oedd yn perthyn i Lewis Bell fachgen negroaidd, o'r enw William, yr hwn oedd fachgen dysglaer a medrus. Dysgodd ddarllen a sillebu drwy wrando ar fechgyn ei feistr yn siarad yn nghylch eu gwersi tra yn marchogaeth i'r ysgol ac o honi. Boddheid fi i'r fath raddau wrth glywed William yn darllen, fel y dywedodd wrthyf os prynwn lyfr sillebu Webster yn y *store* yn Washington, y byddai iddo fy nysgu yn fuan. Yn barod,

yr oeddwn wedi bod yn gwneud inc o *charcoal*, a thori cwilsyn gwydd fel yr edrychai yn debyg i bin fy meistr, a dechreuaswn wneud crafiadau ar hen ddarnau o bapur a bigaswn i fyny yn y farchnad. Sylwaswn fod yr holl ymenyn a werthid genyf wedi ei arwyddnodi gyda dwy lythyren, "I. R.," ac wedi peth amser dysgais fod y llythyrenau hyny yn sefyll am fy meistr, Isaac Riley, ac ymdrechais yn ddyfal efelychu y nodau, a hwy mewn gwirionedd oedd y llythyrenau cyntaf a ysgrifenais erioed.

Ymddangosai i mi pe cymeraswn rai o'r afalau a syrthient oddiar y coed yn y berllan, a'u gwerthu, y byddwn abl i gael arian i brynu llyfr sillebu. Gwnaethum hyn. Yn foreu y dydd nesaf, yr oeddwn oddeutu cyfrwyo y ceffyl i'm meistr; yr oedd y ceffyl yn fywiog ac am hyny rhedodd, a rhedais innau i'w ddal, pan y cwympodd fy het ymaith, ac y syrthiodd hefyd i'r llawr y llyfr oedd ynddi. Wedi i mi ail-daclu y ceffyl, gwaeddai fy meistr, "Beth yw hwna?" "Llyfr sillebu." "Pwy a'i piau?" "Myfi." "Lle y cawsoch chwi o?" "Ei brynu, syr, pan yr aethum i'r farchnad." "Pa faint ydoedd?" "Unarddeg o *cents*." "Lle cawsoch chwi yr arian?" "Gwerthais ychydig afalau o'n perllan." "O'n perllan," efe a floeddiai mewn nwyd; "dysgaf chwi i gymeryd afalau o'n perllan ni i'r fath amcan câs, felly chwi a'i cofiwch. Rhoddwch i mi y llyfr yna." Plygais i'w bigo i fyny, ac fel y gwelwn ei wialen fawr ar ddisgyn, petrusais. "Pigwch i fyny y llyfr yna," gwaeddai, gan wneud defnydd o lw dychrynllyd. O'r diwedd, gorfu i mi wneud, pryd y curodd fi yn groes i'm pen a'm cefn,

nes oedd fy llygaid wedi chwyddo, ac y daethum yn anymwybodol. Yn y cyflwr hwn y caed fi gan fy mam druan, ac aeth peth amser heibio cyn i mi fod yn abl i fyned yn nghylch fy ngwaith eilwaith. Pan welodd fy meistr fi ar ol im' wella, dywedodd yn wawdus, "Ac y mae arnoch eisieu bod yn foneddwr braf? Cofiwch, os bydd i chwi ymwneud â llyfr etto, y curaf eich ymenydd allan." Y rhyfeddod i mi ydyw, fod dim ymenydd wedi ei adael i mi. Byddaf yn dwyn gyda mi i'r bedd graith a wnaeth fy meistr ar fy mhen y dydd hwnw. Nid agorais lyfr drachefn hyd nes fy mod dros ddwy a deugain oed, ac allan o dir caethiwed. Cymaint oedd y cyffro pan ddeallai y meistri fod William, caethwas Lewis Bell, yn bwriadu dysgu eu caethion, fel yr anfonwyd William i Georgia i gael ei werthu, canys dywedai y meistri yn ein cymydogaeth, "Nid ydym am i'n *niggers* gael eu handwyo gan y *rascal* yna."

Llawer gwaith, pan oeddwn yn ddyn ieuanc, y bum yn gyru cywion ieir a moch i'r coed, a'u lladd yn y nôs, ac yna eu cymeryd i gabanau gwragedd llesg ac afiach, y rhai a orfodid i weithio drwy y dydd, dan haul poeth, heb gael ymborth digonol i'w maethu hwy a'u babanod bychain.

Arferwn ymresymu fod y caethion yn eiddo i'w meistr, ac felly yr oedd y moch; ac os yn ddamweinol y caffai y môch yddfau dolurus, ac i minnau eu harwain i grwydro ymaith, nid ydoedd ond cymeryd un ran o eiddo fy meistr, sef, y môch, i wneud y rhan arall o'i eiddo, sef, y gwragedd, yn fwy gwerthfawr. Am yr un rheswm, pan fyddai genyf rês

i'w chwynu rhwng rhesi dwy o wragedd, mynych y gwnawn iddynt eistedd i lawr a gorphwyso, tra y gwnawn chwynu yr oll o'r tair rhês, a rhoddwn rybudd uchel iddynt godi os gwelwn fod fy meistr yn dyfod; yn y ffordd hon arbedais lawer o wragedd rhag curfeydd y ffrewyll.

Mae yn ffaith hynod nad oedd y gyfraith yn cyd-nabod fel lladrad waith caethwas yn cymeryd ymborth oddiar ei feistr. Os lladratâi gyw iâr oddiar blanfa arall, gallai dderbyn yn ol y gyfraith un ar bymtheg o wialenodiau wrth y pawl chwipio cyhoeddus, ugain gwialenod am dwrci, pump neu ddeg ar hugain am fochyn, a deugain ond un am ddafad, yr hyn oedd yr uwchaf. Nid rhyfedd ydoedd fod caethion yn cymeryd yr holl ymborth allent gael, canys yr oedd eu bywyd yn un o drymwaith di-dor, a chydag ymborth o'r fath dlotaf y caent yn ysgafn eu porthi, fel nad oedd yn bosibl feddu y nerth gofynol. Pan wedi eu symud o gyrhaedd dylanwadau diraddiol caethwasiaeth, yr oedd gan y ffoedigion, yn gyffredin, amgyffredion mor glir yn nghylch parchu eiddo a'r bobl wynion. Peth eithriadol ydoedd fod dyn du yn lladrata ar ol cyrhaedd Canada; ystyrir ganddo fod lladrad yn bechod gwaradwyddus. Gŵyr y gall fwynhau cynyrch ei lafur ei hun yn nhir rhyddid, a gall yr holl ffoedigion yn Canada enill eu bywioliaeth eu hunain os ymroddant i weithio. Ar y cyntaf yr oedd ganddynt i fyw ar wreiddiau a llysiau; ond wedi ychydig flynyddoedd, dechreuent feddu eu ffermydd eu hunain, codi pob mathau o rawn a bwyd-ddail, a meithrin amrywiaeth mawr o goed ffrwythau. Gall

pawb yn awr eistedd dan eu gwinwydden a'u ffigysbren eu hunain. Bu rhai yn gofyn i mi, "ai ni fydd y rhai a fyddent wedi cynnefino â hinsawdd poeth y deheu yn cael fod gauafau Canada yn faith ac annifyr?" Nid oes genyf ond un atteb i'w roddi i'r ymofyniad yna, "*fod rhyddid oer yn llawer gwell na gorthrymder poeth.*" Hawdd yw i ni amddiffyn ein hunain rhag gerwindeb y tywydd; ond ni allem droi ymaith ergydion meistr creulawn, yr hwn a wyddai yn dda fod yn angenrheidiol llethu dynoldeb caethwas, i'w wneud yn ddigon darostyngedig i amcanion hunanol ei feistr.

Yn gyffredin, ceir ofergoeledd ac anwybodaeth yn nghwmni eu gilydd. Driugain mlynedd yn ol yr oedd y bobl wynion yn Maryland a Virginia yn dra anwybodus. Gyda'r eithriad o'r ychydig a gawsent eu haddysgu yn y gogledd a'r boneddwyr mewn sefyllfaoedd uchel, nis gallai un dyn o 500 ysgrifenu ei enw yn ddestlus. Gellir gweled y dydd hwn lawer o gofnodion gwladol a phapurau pwysig, yn y rhai yr arwyddai y bobl eu henwau drwy wneud croes neu farc. Nid peth dyeithr yw fod yn mhlith y fath bobl laweroedd yn dra choelgrefyddol. Mae yn adnabyddus ddigon fod y bobl dduon fel dosbarth yn hynod goelgrefyddol, ac yn credu yn mhob math o gonsuriaethau.

Fel bachgen yr oeddwn yn wasanaethgar, hynod fedrus, a mynych y gelwid fi "Man Friday" fy meistr, yn ol ffyddlawn was Robinson Crusoe. Buan y canfyddais y manau gweiniaid yn nghymeriad fy meistres, a'i bod yn dra phryderus o dymer. Cwynai weithiau os na byddwn wedi cael prisiau mor dda

am y cynyrchion ag y dymunai, a chawn glywed am hyn drwy rai o'i gweision, neu drwy ddodi fy nghlust i lawr wrth riniog drws yr ystafell lle byddai yn prudd-gwynfan wrth fy meistr. Y boreu nesaf siaradwn wrth belen fechan a hongiasid genyf wrth linyn egwan a ddaliwn rhwng fy mysedd. Ychydig bellder oddiwrthyf ni allai neb weled y llinyn; ac fel y siaradwn â'r belen, ymddangosai yn neidio i fyny ac yna i lawr heb gael ei chyffwrdd. "Felly, meddylia Missis Riley na chefais ddigon am ei hymenyn?" I fyny deuai y belen. "Cefais gymaint ag oedd o werth?" I lawr yr elai y belen fechan etto. Yr oedd yn syndod y fath glod am fedrusrwydd a gaffai y belen hono yn fy nwylaw. "Wel, y mae yn gwybod pob peth!"—dyna fel y clywais fy meistres yn sylwi unwaith. Os udai ci, neu os gwnelai iâr drwst anarferol, yr oedd rhyw ystyr yn gysylltiedig â'r peth, a deongliad yn cael ei wneud. Dychymygai y negroaid yn aml fod ganddynt lyffaint yn eu migyrnau, neu gopynod yn eu gyddfau, a rhaid fyddai tori y swyndyb gan ryw feddyg a wyddai pa fodd i gymeryd mantais ar y dullwedd arbenig hwn o eiddo meddwl y negro. Buan y cliria addysg ymaith yr holl gred yma mewn swyngyfaredd.

Mewn llawer o froydd yr oedd y bobl dduon lawer iawn yn lluosocach na'r rhai gwynion. Weithiau byddai gan un planwr 400 o negroaid ar blanfa eang. Y flwyddyn cyn gwrthryfel Nat Turner, am ba un y collodd ei fywyd, yr oedd cydgorphoriad eang yn mhlith y bobl dduon, y rhai a gynrychiolent ranbarth o haner can' milldir o eangder, o gylch y

gymydogaeth lle yr oeddwn yn byw. Yr oedd y cynlluniau wedi eu dodi i lawr yn dda, pob manylion wedi eu hystyried yn drwyadl, a hyd yn nod yr amser i daro y ddyrnod wedi ei appwyntio.

Yr oedd i fod am unarddeg o'r gloch y nos, ac ar adeg pan fyddai y lloer yn llawn. Yr oedd nifer o'r caethion i danio yr ysguboriau a'r ystablau yn y gwahanol blanfeydd o fewn y rhanbarth dan sylw, a hyny ar yr un awr. Yna yr oedd eraill i gymeryd eu safle yn ymyl y tai, ac fel y byddai i'r meistri ruthro allan i edrych beth oedd y mater, yr oedd y caethion i'w lladd, ac yna lladd yr holl deuluoedd, a llosgi eu tai i fyny. "Ni adewir cymaint ag un gwyn i adrodd yr hanes," ebe caethwas cyffroedig. Nis gallwn gytuno â'r blaenoriaid, ac etto teimlwn na ellid dweyd gormod am ddrygau caethwasiaeth, a bod genym hawl i'n rhyddid. Fel y deuai y goleuni bob yn ychydig i'm henaid, argyhoeddwyd fi nad oedd yn gynllun gweddaidd na christionogol o fyned yn mlaen; felly dechreuais godi amheuon a chwestiynau, dadleu y pwnc, ac o'r diwedd, yr oedd genyf ddigon o wroldeb moesol i siarad allan fy meddwl yn glir. Dywedais, "Tybiwch ein bod yn lladd mil o'r bobl wynion, sicr fyddem o golli ein bywydau, a gwneud cadwyni y rhai sydd mewn caethiwed yn drymach, ac yn sicrach. Na, gadewch i ni ddyoddef yn enw ein Duw, a disgwyl ei amser Ef i Ethiopia estyn allan ei dwylaw a bod yn rhydd." O'r diwedd, llwyddais gyda hwynt i ymwrthod â'r cynllun. Gwir yw fod gan y caethion annogiad digonol i godi a chymeryd lleoedd eu meistri. Gwelais un tro, gyd-weithiwr ffyddlawn,

yn derbyn 500 o ffrewylliadau ar ei gefn noeth, yn unig oblegid iddo, pan ychydig yn sarug, wrthwynebu cymeryd ei guro gyda *cane* o gylch ei ben. Yr oedd bron yn farw pan ei rhoddid i'm gofal i'w ymgeleddu.

Wedi i mi ddechreu pregethu, o'r braidd y diengais rhag derbyn deugain fflangelliad ond un wrth y pawl chwipio cyhoeddus yn Alexandria, ger Washington, yn unig am ofyn i'r maer roddi i mi ganiatad i gydsynio â chais fod i mi bregethu yno. Yn ddigllawn gorchymynodd fy nwyn i garchar ar y Sadwrn, ac i dderbyn y ffrewyllu ar y Llun, neu dalu dirwy o 25 o ddoleri. Nid oedd genyf arian, a gweddiwn ar Dduw ddangos i mi beth i'w wneud. O'r diwedd, cefais rywun i anfon at frawd ieuengaf fy meistr. Daeth i'r carchar i'm gweled, a thrwy roddi fy oriawr, gwerth 45 o ddoleri, talodd y ddirwy a chefais fy rhyddhau. Cyn i ni adael y ddinas, pa fodd bynag, ymgasglodd y bobl dduon o'm deutu, a'r Arglwydd a agorodd fy ngenau, a meddwn y gwroldeb moesol i roddi iddynt y fath bregeth ag nas clywsant er ys hir amser. Mor fuan ag y dybenais fy mhregeth, cipiai fy meistr ieuanc, yr hwn oedd barod gyda'i bedrolfen, fi i mewn iddi, ac aethom allan o'r ddinas mewn brys mawr, oblegid, fel y dywedai wrthyf, nid oedd y gyfraith yn caniatau i mi bregethu yn agored i nifer o gaethion yn y parth hwnw o'r wlad. O dan ddylanwadau tra gwahanol y gwnawn siarad neu bregethu i gynulleidfa fawr iawn o foneddigesau a boneddigion gwynion yn Tremont Temple, Boston, Mass., wedi dianc o honof o gaethiwed. Yr

oeddwn agos a dybenu fy mhregeth, pan, wedi fy ngweithio i fyny i'r pwynt uchaf o gyffroad, y gwaeddwn, "Ewyllysiwn fy mod yn meddu rheolaeth gyflawn dros y caeth-feistri deheuol am bedair awr ar hugain!" Neidiodd dyn i fyny yn nghwr pellaf y neuadd fawr hono, a dywedodd yn gyffrous, "Mr. Cadeirydd, a gaf fi ofyn i'r llefarwr un cwestiwn?" Yn ofni fod y dyn yn bwriadu codi terfysg, dywedai y boneddwr a lywyddai, yn addfwyn, "Gan Mr. Henson y mae yr esgynlawr, ac nid oes neb i aflonyddu arno heb ei ganiatad." Dywedais, "Gall y boneddwr yn nghwr pellaf y tŷ ofyn i mi y cwestiwn." Cyfododd, ac mewn dull cyffrous, a braidd gwawdus, gofynai, "A pha beth a wnaech chwi â hwynt, attolwg?"

Yr oedd yno y dystawrwydd dyfnaf, a'm holl gyfeillion oeddynt bryderus, heb wybod pa mor bell y gallwn fod yn cael fy nghyffroi gan adgofion blaenorol am greulondeb caeth-feistri, a bod genyf achos i feddu teimladau dialgar, os na amlygid hwynt genyf. Dywedais mewn llais mor uchel a dwfn ag y gallwn ei orchymyn, "Yn gyntaf, mynwn eu cael oll yn drwyadl ddychweledig at Dduw; ac yn ail, anfonwn hwynt yn uniongyrchol i'r nefoedd, cyn cael o honynt un foment o amser i wrthgilio." Yna eisteddais i lawr; ac yr oedd yno y fath derfysg o hwrê, a bloeddiadau cymeradwyol a'r nas clywais o'r blaen mewn unrhyw gyfarfod.

Cystal fyddai i mi derfynu y bennod hon drwy roi siampl o'r caniadau a genir gan y caethion pan fo y teulu oddeutu ymwahanu, drwy fod rhai aelodau o hono wedi cael eu gwerthu i feistri newyddion.

Weithiau canant ddarnau cwynfanus o'r fath hyn, gan dincian eu cadwyni i gadw yr amser gyda'u lleisiau.

Pan oeddwn lawr mewn Aiphtaidd wlad,
  Draw wrth yr afon,
Mi glywais ddweyd am ragorach gwlad,
  Lawr wrth yr afon deg.

*Cydgan.* Gorchfygu wnawn,
  Lawr wrth yr afon ;
Gorchfygu wnawn,
  Lawr wrth yr afon deg.

Byth nid annghofiaf y fath ddydd,
  Lawr wrth yr afon,
Pan olchai'r Iesu 'm beiau'n rhydd,
  Lawr wrth yr afon deg.
  *Cydgan.*

Ychydig bach cyn toriad dydd,
  Lawr wrth yr afon,
Pan olchai'r Iesu 'm beiau 'n rhydd,
  Lawr wrth yr afon deg.
  *Cydgan.*

Cydorfoleddwn, enill 'r ym
  Lawr wrth yr afon ;
Hen deyrnas Satan dynwn lawr,
  Lawr wrth yr afon deg.
  *Cydgan.*

Bloeddiwch, blant, can's rhyddion y'ch
  Lawr wrth yr afon,
Crist ddygodd i chwi ryddid gwych,
  Lawr wrth yr afon deg.
  *Cydgan.*

## PENNOD XXX.

### FY NHEULU.

GOLEUNI NEWYDD YN FY NGHARTREF ANRHEITHIEDIG.—FY MHLANT.—FY NHRYDYDD YMWELIAD A LLOEGR.—MR. HUGHES.

Yr oedd fy nghalon a'm cartref yn anrheithiedig wedi colli o honof y wraig a fuasai yn gydymaith ffyddlawn i mi mewn caethiwed, ac a ddiangasai gyda mi i Canada. Am bedair blynedd, ymddangosai i mi na ellid llanw ei lle. Ni chadwn gwmni â neb un; byth ni cherddwn allan gydag un wraig, a meddyliwn mai felly y byddai hyd y diwedd; ond yr oeddwn mor unig, mor hollol resynol, fel o'r diwedd y penderfynais yr ymdrechwn dd'od o hyd i gydmar arall. Teithiaswn yn helaeth, a gwnaethwn lawer o gydnabyddion, ond ni wyddwn ond am un fenyw y buaswn yn gofalu am ei chael yn wraig. Gweddw ydoedd, a menyw ragorol; un a fuasai yn athrawes ffyddlawn yn yr ysgol Sul, ac yn fam hollol yn yr eglwys i'r hon y perthynai. Dygasid hi i fyny gan foneddiges yn perthyn i'r Crynwyr yn Baltimore, a hi gawsai addysg dda yn y canghenau cyffredin. Buasai ei mham yn gaethes, ond yr oedd yn *laundress* mor uwchraddol, fel yr enillodd ddigon i brynu ei rhyddid gan ei meistres, ac yna hi enillodd ddigon i brynu rhyddid ei gwr. Bu un o'i merched fyw gyda theulu am lawer o

flynyddau, a chyda hwynt hi fu yn teithio o amgylch y byd.

Aethum i Boston, a gelwais heibio i'r weddw hyfryd amryw weithiau cyn casglu o honof ddigon o wroldeb i ofyn iddi a ddewisai fod yn wraig i mi. Yr oedd hyn o gylch dwy flynedd cyn i ni gael ein priodi yn Boston gan ein hesgob, yr hwn ar y pryd a gadwai gyfres o gyfarfodydd yn y ddinas. Hi wnaeth wraig ragorol i mi, a'm cwpan yn wir a fu yn rhedeg drosodd gan drugareddau Duw. Bu iddi un mab a dwy ferch. Y mae genyf yn awr saith o blant yn fyw. Aeth fy mab hynaf, Tom, i California, a meddyliwyf iddo gael ei ladd yn y rhyfel cartrefol, canys ni chlywais oddiwrtho ar ol iddo ymrestru. Isaac, fy ail fab, ydoedd fachgen galluog a duwiol. Addysgwyd ef mewn ysgol yn Llundain. Priododd, ordeiniwyd ef fel gweinidog Wesleyaidd, a bu yn pregethu am o gylch pymtheng mlynedd. Bu farw pan nad oedd ond dwy ar bymtheg ar hugain oed, ac fe'i cerid yn gyffredinol. Yr oedd fy nhrydydd mab, Josiah, yn awyddus iawn i ddysgu gwaith crydd, ond perswadiais ef i'm cynorthwyo ar y fferm. Priododd yn ddwy ar hugain oed gyda gwraig ieuanc fedrus iawn, ac yna dywedodd, "Yr wyf yn penderfynu yn awr cael fy ffordd fy hun, fy nhad; ceisiais lynu wrth y fferm, ond nis gallaf wneud hyny yn hwy; gwn y gallaf weithio fy ffordd yn mlaen." Gadawodd Canada, ac aeth i Jackson, Michigan, lle yr oedd rhagfarn mawr yn erbyn gadael i ddynion ieuainc duon wneud dim gyda chrefft yr esgidiau. Cafodd yno wneuthurwr botasau ac esgidiau Seisnig, yr hwn a gytunodd i'w ddysgu. Rhwymwyd ef

wrtho am ddwy flynedd. Yr oedd ei wraig ieuanc yn dda at olchi a thrin yr haiarn; hi elai allan i weithio wrth y dydd, derbyniai gyflog rhagorol, a'r bobl ieuainc oeddynt dra dedwydd. Ar ddiwedd y ddwy flynedd, dywedodd ei feistr wrthyf, "Bachgen gwych yw Josiah Henson, ieuanc; gall wneud cystal botasen a'i feistr." Aeth fy mab wedi hyny i Adrian, lle yr oedd coleg gwrthgaethwasiol. Prynodd gwpl o ddarnau o dir yn mhen amser. Gweithiai gyda ei gelfyddyd yn ystod y gauaf, ac yn y gwanwyn elai allan i eisio, plastro, a phapuro tai rhai o'r bobl oreu. Parhaodd i wneud yn dda, ac yn awr y mae ganddo eiddo gwerth amryw filoedd o ddoleri. Amaethwr yw fy mhedwerydd mab, Peter; edrycha ar ol fy fferm, ac erys gyda mi.

Y mae fy mhedair merch wedi priodi; gall y cwbl o honynt ddarllen ac ysgrifenu yn dda; bu un o honynt dan addysg am ddwy flynedd yn Oberlin.

Y mae cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle yn sefyllfa y bobl dduon er pan aethum gyntaf i Canada. Y pryd hwnw, nid oedd Beibl neu lyfr emynau i ddyn du wneud defnydd o hono am ganoedd lawer o filldiroedd, ac ni allasai neb o honom ddarllen y Beibl, pe buasai genym un; ond yn awr, y mae elfenau addysg yn mhob caban. Pan ddaeth yn wybyddus i mi fod yn pregethu yn y De, derbyniais geisiadau taer i lafurio yn y ffordd hon yn Canada; ac fel henuriad esgobaethol Trefnyddol, yr oedd genyf ranbarth yn ymestyn am dri chant o filldiroedd, dros ba un y bum yn teithio, cynal cyfarfodydd, mynychu cynadleddau, sefydlu, a bod â llaw yn mhob symudiad a gychwynid er lleshau y bobl.

Cawsom gymhorth mawr oddiwrth y diweddar Barchedig. Mr. Hughes, Ysgrifenydd Cymdeithas Genhadol yr Eglwys yn Canada ar gyfer y Trefedigaethau a'r Cyfandiroedd (yr hwn a fu farw Ebrill 11eg, 1876). Am un neu ddwy ar bymtheg o flynyddau, llafuriodd yn y modd mwyaf zelog fel cenhadwr yn Canada. Yr oedd bob amser yn gyfaill trwyadl i mi; gwyddai am fy holl helbulon o barth yr ysgol—fod fy amgylchiadau arianol wedi eu hanafu drwy fy ngwaith yn *mortgagio* fy eiddo i dalu treuliau y gyfraith hono a barhaodd am saith mlynedd, a chynnygiodd fy mod etto i ymweled â Llundain yn fy henaint; ac efe a'm sicrhâi y byddai i'm hen gyfeillion etto ymwasgu yn nghyd i'm cynorthwyo. Diwrnod prudd i mi oedd hwnw, pan, o gylch tri mis cyn i mi adael Canada, y galwyd arnaf fyned a sefyll yn ymyl ei wely angau. Ei funudau olaf oeddynt dangnefeddus, a'i ffydd hyd y diwedd yn fuddugol. Bu farw fel y buasai fyw, yn Gristion gwirioneddol. Yn adroddiad blynyddol diweddaf y Gymdeithas Eglwysig Drefedigaethol a Chyfandirol, pa un a ddaeth i'm llaw wedi fy nyfod i Lundain, cyfeiriodd yn garedig at fy nghenadaeth yn Llundain fel y canlyn: "Bwriada Josiah Henson ('Uncle Tom' Mrs. Stowe), yr hwn, fel y gwyddoch mi dybiaf, a breswylia yn agos i Dresden, gychwyn am Loegr yn mhen wythnos neu ddwy. Ei brif amcan fydd ceisio codi arian i glirio ymaith y *mortgage* drom a godasai ar ei fferm, mewn trefn i gyfarfod costau y cyngaws cyfreithiol maith yn herwydd eiddo y sefydliad yn Dawn, pa un fuasai wedi ei golli yn llwyr oni bae iddo ef neidio i'r

adwy. Dygodd Mr. Henson holl draul y cyngaws hwnw; a phan benderfynwyd yr achos, ceid nad oedd gallu gan yr ymddiriedolwyr appwyntiedig gan y Canghell-lys i roi yr arian yn ol iddo allan o'r etifeddiaeth. Cynyrch gwerthiant yr eiddo yn Dawn, yn cyrhaedd yn agos i 30,000 o ddoleri, a gyfansodda y rhan fwyaf o waddol Sefydliad Addysgawl Wilberforce. Boddhaus genych fydd deall fod y sefydliad hwn yn awr mewn gweithrediad bywiog, ac os ei rheolir yn ddoeth, bydd yn fendith fawr yn y dyfodol, mewn golygiad addysgawl, i'r bobl dduon yn Canada. Nid yw mordaith i Loegr yn anturiaeth ysgafn i ddyn o oedran Henson, gan ei fod yn awr yn saith a phedwar ugain oed. Er nad yw mewn un modd y dyn ag ydoedd pan yn Lloegr bum' mlynedd ar hugain yn ol, y mae etto yn meddu yni corphorol a meddyliol i raddau annghyffredin; ac yn gwybod ei amgylchiadau, a nodwedd brofedigaethus ei achos, fel yr wyf fi, gobeithiaf yn ddidwyll y bydd ef yn llwyddianus."

Dichon mai da fyddai ychwanegu ychydig o'r llawer tystiolaeth a dderbyniais, pan wybuwyd fy mod yn bwriadu ymweled â Lloegr :—

"Yr ydym ni, y rhai y mae ein henwau isod, yn dymuno sicrhau i ni fod yn adnabyddus â'r Parch. Josiah Henson am gryn nifer o flynyddoedd; iddo fod yn preswylio, fel y credwn, yn Swydd Kent, Ontario, am y pum' mlynedd a deugain diweddaf; iddo bob amser ddwyn y cymeriad uwchaf yn mysg trigolion y wlad hon, a'i fod yn deilwng o ymddiried y cyhoedd.—Wm. Bryant Wells, Barnwr C. C., Co. Kent, Ontario; John Mercer, Sirydd, Kent; Wm. Douglas, Hedd-ysgrifenydd, Kent; H. Smythe, Maer,

Tref Chatham; Francis W. Sandys, A.M., Archddiacon Kent, Ontario.—Chatham, 25ain Ebrill, 1876."

"Memorial Church Rectory, Llundain, Ontario, Mai 16eg, 1876.—At Ysgrifenyddion y Gymdeithas Eglwysig Drefedigaethol a Chyfandirol.—Foneddigion hoff—Yn yr adroddiad diweddaf i'r Gymdeithas, siaradai ein cyfaill ymadawedig Mr. Hughes yn nghylch ymweliad bwriadedig y Parchedig. Josiah Henson ('Uncle Tom' Mrs. Stowe) i'r dyben o godi arian i glirio ymaith *mortgage* y bu raid i Mr. Henson roddi ar ei fferm mewn trefn i gyfarfod y costau yn nglyn â'r cyngaws cyfreithiol yn achos y Sefydliad yn Dawn. Amcan y nodyn hwn yw ei gyflwyno i'ch sylw chwi, yn y gobaith y byddwch abl i hyrwyddo ei achos yn Lloegr. Yr oedd yn adnabyddus iawn i gyfeillion y bobl dduon ugain mlynedd yn ol, ond gwna y cyfnewidiadau hi yn angenrheidiol iddo gael rhywrai a allant ei gymeradwyo yn ei ymgais presenol. Yr ydych eisoes yn gydnabyddus â gwaith Sefydliad Wilberforce, pa un a gynaliwyd gyda thraul bersonol ddirfawr i Mr. Henson. Ei brofiad fel caethwas, ac fel pregethwr yn mhlith y ffoedigion yn Canada, a wna i'w hanes fod yn ddyddorol i'r eithaf. Yn ei 'Hagoriad i Gaban Uncle Tom,' rhydd Mrs. Stowe frâs-linelliad o'i fywyd i gadarnhau y cymeriad a baentiwyd ganddi. Ar awdurdod Mr. Hughes, yr hwn a adwaenai Mr. Henson dros lawer o flynyddoedd, ac a feddyliai yn y modd uwchaf am ei waith a'i nodwedd, yr wyf yn dymuno cyflwyno i'ch sylw un a fu yn fendith fawr i'w frodyr duon yn Canada. Os gellwch roddi iddo unrhyw lythyrau, neu

hyrwyddo ei achos mewn rhyw ffordd, bydd hyn o gymhorth i'r symudiad â pha un y mae y gymdeithas Eglwysig Drefedigaethol a Chyfandirol wedi bod yn gysylltiedig am lawer o flynyddoedd. Yr eiddoch yn dra didwyll, W. Harrison Tilley, Ysgrifenydd Clerigaidd i Bwyllgor Gohebol y Gymdeithas Eglwysig Drefedigaethol a Chyfandirol."

"Dresden, Ontario, Canada, Mawrth 10, 1876.—Gan fod Mr. Josiah Henson oddeutu cychwyn i Loegr, gofynodd i mi roddi iddo lythyr o gymeradwyaeth. Y mae Mr. Henson yn cael ei barchu mor fawr drwy Canada Orllewinol, ac mor adnabyddus gyda hyny i bersonau dylanwadol lawer yn yr Unol Daleithiau ac yn Lloegr, fel nad oes arno braidd angen am ddim o'r fath oddiwrth neb. Y mae Mr. Henson wedi bod yn adnabyddus i mi am dros un mlynedd ar bymtheg, a phleser mawr i mi yw cael cyfle i ddwyn tystiolaeth i'w gymeriad gwir ragorol. Bu yn gaethwas am lawer blwyddyn, ac fe'i triniwyd yn y modd creulonaf; ac er pan ddiangodd i Canada, er ys mwy na deugain mlynedd yn ol, mae wedi bod yn llanw y lle blaenaf yn yr holl symudiadau er derchafiad ei bobl. Drwy ei ymdrechion er eu lles hwy, efe, yn anffortunus, a oddefodd gryn lawer o golled arianol, ac a orfodwyd mewn canlyniad i roi *mortgage* ar ei fferm. Gyda bwriad i symud ymaith y baich hwn, y darfu iddo, yn ei henaint mawr, benderfynu, mewn attebiad i wahoddiad gwresog a roddwyd iddo, i ymweled â Lloegr. Yr wyf yn galonog yn ei gymeradwyo ef a'i achos i'r cyhoedd yn Mhrydain, ac yn gobeithio y caiff ef, yn mhob modd, 'daith lwyddianus drwy ewyllys Duw.'—Thos. Hughes, Cenhadwr Eglwys Loegr yn Dresden."

## PENNOD XXXI.

### FY NHRYDYDD A'M HOLAF YMWELIAD A LLUNDAIN.

CYFARFOD A HEN GYFEILLION A GWNEUD RHAI NEWYDDION.—"CHRISTIAN AGE."—DESGRIFIAD PROFF. FOWLER.—CWBLHAU FY NGHENADAETH.

WEDI ysbaid o bum' mlynedd ar hugain, boddhaus iawn i mi oedd bod yn Llundain etto. Yr oedd llawer o'r cyfeillion a adwaenwn yn ystod fy ymweliad blaenorol wedi myned ymaith. Cefais fod Samuel Morley, Ysw., a George Sturge, Ysw., yn fy nghofio yn y modd caredicaf, a'u bod yn cael eu tueddu etto i fod i mi yn gyfeillion pur a sefydlog; hwy fuont yn gyfeillion gwirioneddol i mi yr holl flynyddau meithion hyn a aethant heibio, a gobeithiaf gael eu llon-gyfarch hwynt wedi ein myned oll drwy Afon yr Iorddonen. Ar unwaith hwy addawent fy nghynorthwyo i symud y pwysau a wasgai i lawr fy ysbrydoedd, ac a gymylai fy mlynyddoedd olaf, pan nad allwn lafurio megys cynt. Cychwynasant drysorfa, gan ei blaenori nid yn unig â'u henwau dylanwadol, ond rhoddodd pob un £50 hefyd tuag atti. Bendithied Duw hwynt am eu haelioni, ac am eu cyfeillgarwch arosol i mi. Ychwanegodd Syr Thomas Fowell Buxton, Bar., a

R. C. Bevan, y swm o £25 bob un i'r drysorfa, ac ychwanegodd llawer o rai yn perthyn i Gymdeithas y Cyfeillion eu tanysgrifiadau. Hoffwn gofnodi ddarfod i mi bob amser dderbyn y caredigrwydd mwyaf haelionus, yn America ac yn Lloegr, oddiwrth aelodau Cymdeithas y Cyfeillion, ac yn arbenig oddiwrth George Sturge, Ysw., yr hwn a deimlai ynwyf gymaint dyddordeb, fel y dywedai yr anfonai ef fi yn ol i'm cartref yn Canada gyda chalon ysgafn. Yr wyf yn sicr y bydd fy nghalon yn *drom gan ddiolchgarwch*, canys bydd yn llawn o'r teimlad hwnw; a gweddiaf hyd ddydd fy marwolaeth am i fendithion orphwys ar un a roddodd i mi y fath ymwared.

Yn mhlith y cyfeillion newyddion a wnaethum, rhaid enwi Proffeswr a Mrs. Fowler, gynt o New York, ond yn awr yn byw yn Llundain, a theimlwn gartref bob amser yn eu swyddfa hyfryd hwy.

Gyda'i fedrusrwydd hynod, rhoes Proffeswr Fowler i mi frâs-lun o'm cymeriad oddiwrth fy mhen. Dywedais wrtho, "Gallaswn dybio y buasai fy hen feistr wedi curo allan fy holl ymenydd;" eithr sylwodd yntau yn chwareus, "fod fy mhenglog efallai mor drwchus, fel nad oedd yr ergydion yn treiddio."

Cyhoeddwyd y desgrifiad a roddodd o honof ynghyda'm darlun yn y *Christian Age*, papur wythnosol; ac er i 80,000 o gopiau o'r rhifyn hwn gael eu lledaenu, etto bu raid dwyn allan drydydd argraffiad er cyfarfod y gofyn. Sicr wyf y bydd desgrifiad y Proffeswr Fowler yn ddyddorol, ac am hyny fe'i dodir i mewn yma.

"Y mae *peirian-gorph* "Uncle Tom" mor hynod ag y mae ei fywyd a'i lafur wedi bod. Yr oedd ei dad yn chwe' troedfedd o uchder, ac yn ddyn nerthol, gewynog iawn. Yr oedd ganddo syniad cryf o gyfiawnder a rhinwedd, ynghydag ewyllys llwyr anhyblyg. Uchder ei fab, "Uncle Tom," yw pum' troedfedd a saith modfedd.

"Oddiwrth ei dad, fe etifeddodd *system* ewynol gref, nawsaidd iawn, a chyfansoddiad cryf, fel yr arwydda ei ymddangosiad, ac y darfu i'w fywyd gor-lafurus brofi. Y mae ganddo ymenydd mawr, tair modfedd ar hugain o amgylchedd, gyda gor-lawnder o ymenydd yn ngoryn uchaf y pen, yn arwyddo grym meddyliol mawr, amgyffrediad eang, a medrusrwydd talentaidd dirfawr. Ei ben sydd gul, hir, ac uchel. Canolbwyntia nerth ei natur *gymdeithasol* mewn cariad at ei wraig a'i blant, yn enwedig yr olaf, yr hyn y profodd efe ei fod yn angerddol, drwy gario dau o'i blant ar ei gefn 600 o filldiroedd, gan deithio ar draed yn ystod y nos, tra yn ffoi o gaethiwed ac yn ceisio ei ryddid ar dir Prydeinig yn Canada. Ei ben sydd uchel iawn yn y coryn ac uwchlaw y clustiau. Nid oes gan un dyn gwyn gryfach ystyriaeth o ryddid, neu gariad at ryddid, dynoldeb teimlad, ac annibyniaeth meddwl, wedi ei uno â gradd o sefydlogrwydd, dyfalbarhad, a phenderfyniad meddwl, nad oedd yn fwy hynod yn Cromwell, neu Wellington, nag ydyw yn 'Uncle Tom.' Ei ystyriaeth o rwymedigaethau *moesol* a chariad at wirionedd sy' gryf nodedig.

"Y mae yn onest i'r gradd manylaf, a'i feddwl sy' eglur fel goleuni dydd. Nid yw yn dueddol at

ddwbl-ddelio, twyll, a rhagrith, hunanolrwydd gormodol, neu drachwant am arian, ond y mae yn ochelgar, edrycha yn mlaen, a pharotoa at y dyfodol.

"Trwy beirianwaith corphorol, yn gystal a thrwy ras, y mae ganddo deimlad cryf o ddefosiwn, addoliad, ac ystyriaeth o ddibyniad. Fel Cristion, rhai o'i deimladau crefyddol cryfaf ydynt, cariad at weddi a diolchgarwch, a'i duedd i geisio cymorth a dyddanwch o ffynhonell uwch na dynol yn awr trallod. Ei gysur pan yn gaethwas oedd yr ymarferiad o'i *dduwiolfrydedd*, ac y mae wedi bod yn gysur iddo drwy holl gyfnewidiadau ei fywyd. Y mae ei *haelfrydedd* hefyd yn fawr iawn; y mae yn llawn o'r elfen genhadol, ymhyfryda mewn gwneud daioni, ac y mae llawer o flynyddoedd ei fywyd wedi cael eu treulio mewn llafur cariad. Y mae yn agored i annghofio ei achosion ei hun, pan y gall wneud ei hun yn ddefnyddiol i eraill. Yn ei dyb ef, 'ffydd heb weithredoedd, marw yw.' Ni ddisgwylia attebiad i'w weddiau heb wneud ymgais yn yr iawn gyfeiriad. Y mae yn weithgar, diwyd, ac yn hoffi peth i'w wneud; bob amser yn brysur mewn rhyw ffordd neu 'i gilydd, ac nid ofna waith caled os yn angenrheidol. Gweithia ei feddwl yn arafaidd, ond yn hollol sicr. Pan fo ganddo wrthddrych, deil wrtho hyd nes y cwblhao ei amcan. Un o'r *plodding kind* yn wirioneddol ydyw. Nid oes ganddo y cynheddfau i'w wneud yn arddangosiadol a dychymygol, ond y mae ganddo alluoedd efelychiadol da, a gall yn hawdd gyfaddasu ei hun at newidiad sefyllfa ac amgylchiadau. Y mae ganddo swm mawr o arabedd

sych, ac y mae yn dra uniongyrchol, ymarferol, naturiol, a chywir yn ei arddull o siarad. Ei alluoedd deallawl ydynt o'r fath fwyaf ymarferol a synwyrgraff.

"Y mae ganddo alluoedd uwchraddol at dynu casgliadau a gwersi, fel y byddo ef yn eu deall. Delia gan mwyaf mewn ffeithiau, cyflyrau, cynheddfau, a chysylltiadau pethau, a thry ei holl wybodaeth i rêl-leoedd o ddefnyddioldeb. Y mae ganddo ddawn neillduol at sylwi ar bob peth a gymero le o'i amgylch; côf uwchraddol am bersonau a wêl, ffeithiau a glyw, ac am leoedd, digwyddiadau a hanesion; a'i feddwl a ymdebyga i ystorfa fawr, yn mha un y mae wedi casglu cyfanswm enfawr o ddigwyddiadau dyddorol. Y mae ganddo *gyfaddasder* da at drefnu, cyfuno, corphori, a chynllunio, gyda chyfeiriad at ganlyniadau terfynol.

"Y mae yn hoffwr mawr o wirioneddau syml; gweithreda a sieryd yn gwbl fel y teimla, a meddylia megys yn reddfol; nis gall wisgo cymeriad, ac ymddangos yn wahanol oddiwrth yr hyn a deimla yn wirioneddol, ac y mae ganddo gasineb trwyadl at ragrith a thwyll. Y mae ganddo wroldeb mawr mewn amserau o berygl, hefyd presenoldeb meddwl mawr, a hunan-lywodraeth mawr yn nghanol cyffro a gwrthwynebiad.

"Nid yw yn ddialgar, ond y mae ganddo unrhyw swm o deimlad dirmygus tuag at rai a weithredant yn iselwael. Y mae yn fwy uniongyrchol yn ei ddull o siarad nag ydyw o ran helaethrwydd ac amlder geiriau; etto, gan na wyr ond ychydig oddiwrth attaliad drwy *gudd-dueddiad*, a bod ganddo

gymaint o wybodaeth amrywiog a phrofiad, caiff fod yn hawdd iddo siarad pan fo ganddo wrandawyr astud.

"Er yn ei wythfed mlwydd a phedwar ugain, ymddengys o leiaf bymtheng mlwydd yn ieuengach, canys y mae yn gryf yn ei droediad, unionsyth o ran ffurf, yn dueddol i edrych atto ei hun, a dewisa gerdded yn hytrach na myned mewn cerbyd; mae yn bendant yn ei ddull o siarad, cymdeithasol yn ei duedd, serchlawn yn ei deimladau, tyner yn ei gydymdeimlad, clir yn ei weithrediadau deallawl, ffraeth yn ei ymddyddanion, a phert yn ei egluriadau. Tra yr ystyria llawer yn ddeg a deugain oed nad oes gyfle wedi ei adael iddynt i wella eu sefyllfa, y mae 'Uncle Tom' yn wyth a phedwar ugain yn fywiog, ystwyth, a phryderus o hyd am wneud gwelliantau.

"Boddhawyd fi yn fawr oherwydd gwneud adnabyddiaeth o 'Uncle Tom,' a gobeithiaf y bydd i gyfeillion yr hil negroaidd yn Lloegr ei anfon yn ol i Canada, gyda digonedd o foddion i'w alluogi i fyw mewn cysur dros y gweddill o'i ddyddiau."

Un arall o'm cyfeillion newyddion yw Mr. John Lobb (golygydd llywyddol y *Christian Age*). Y mae ganddo gydnabyddiaeth helaeth â'r rhan fwyaf o'r gweinidogion efengylaidd yn Llundain. Efe drefnodd fy holl ymrwymiadau cyhoeddus, a chynorthwyodd fi i anerch, ar eu cais, gynulleidfaoedd mawrion iawn mewn adeiladau cyhoeddus, capeli, a lleoedd addoliad. Yn wir, rhoddodd i mi ar bob achlysur cyhoeddus gynorthwy sylweddol fel fy *Nghadeirydd.* Dan y fath rwymedigaethau, teimlais

ei bod yn ddyledswydd hyfryd i wneud rhyw gydnabyddiaeth gymeradwy, yr hyn, fel y gobeithiaf, a fydd mewn gwirionedd. Yr wyf gan hyny wedi trosglwyddo *copyright* y gwaith hwn yn gwbl i Mr. John Lobb.

Ar fy ymweliad â Llundain yn 1851, gwnaethwn gydnabyddiaeth â theulu Mr. Thomas Church, awdwr "Buddugoliaethau yr Efengyl," a llawen oeddwn gael adnewyddu eu cyfeillgarwch a'u serch yn 1876. Yr wyf yn diolch iddo am fy nghynorthwyo mor alluog yn fy ngohebiaethau tra yn Llundain.

Nis gallaf esgeuluso cydnabod fy rhwymedigaethau i Dr. Macaulay, o Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, a golygydd galluog y misolyn eang-gymeradwyol hwnw a elwir y *Sunday at Home.* At gofion eraill o garedigrwydd, teimlwyf yn ddiolchgar am ei erthygl ragorol yn y rhifyn am Hydref, 1876, dan y penawd "Uncle Tom," a'i sylwadau cadarnhaol yn mherthynas i'm hanes, ac yn ffafr amcan fy ymweliad presenol â Llundain.

O bob parth o Loegr, Iwerddon, a'r Alban, daeth gwahoddiadau i mi siarad wrth y bobl, ond nid oedd fy nerth yn ddigonol i ymgymeryd â'r oll.

## BRASLINELLIAD O MRS. H. BEECHER STOWE.

ER fod y foneddiges glodadwy hon o deulu urddasol, ac yn mwynhau enwogrwydd byd-eang, dichon fod llawer i'r rhai y bydd y llinellau dilynol o ddyddordeb, am eu bod yn ddesgrifiadol o'i nhodwedd a'i hanes. Ei thad ydoedd Lyman Beecher, D.D., a anwyd yn 1771, ac a ddygwyd i fyny, hyd nes ei fod • oedran aeddfed, i'r un alwedigaeth a'i dad, sef, yn ôf. Wedi iddo ei gadael i ddilyn cwrs o efrydiaeth yn Ngholeg Yale, New Haven, efe a ymaflodd yn ngwaith y weinidogaeth. Am beth amser, bu Dr. Lyman Beecher yn weinidog eglwys yn Lichfield, ac yma y ganwyd Harriet Beecher, B.A. 1812. O'r diwedd, symudodd i Boston; ac yn 1832, ymadawodd i fyned i Lane yn Cincinnati. Yma cymerodd Lyman Beecher ofal yr ysgol, a cheisiodd sefydlu efrydiau athrofaol yn nglyn â llafur hunan-gynhaliol. Yn yr anturiaeth hon cymerai Proffeswr Calvin Stowe ran, a thros amser llwyddai eu gwaith. Arweiniodd y caethwasiaeth a hanfodai y pryd hwnw yn yr Unol Daleithiau i brysuro ei ddymchweliad. Yr oedd y flwyddyn 1830 wedi bod yn dyst o'r Chwyldroad Ffrengig. Codasai symudiad yn Lloegr yn erbyn Caethwasiaeth Trefedigaethol. Yr oedd barn-lysoedd Americanaidd wedi carcharu a dirwyo llawer am iddynt siarad yn erbyn caethwasiaeth. Galwodd yr holl ffeithiau hanesiol hyn sylw dyngarwyr yn yr Unol Daleithiau at ddrygau a throsedd caethwasiaeth; nid allai ysgol Dr. Beecher wrthod y ddadleuaeth a gyfodai yn nghylch yr anwiredd coronol hwnw! Bygythiai y werin-dorf (*mob*), ac elai caethfeistri Kentucky drosodd i ddirgymell yr unrhyw yn mlaen i greulawn ymosodiad. I wared yr eiddo cyfryngai yr ymddiriedolwyr, a thawelent y werin-dorf drwy y sicrhad na byddai i bwnc caethwasiaeth gael ei ddadleu yn yr ysgol mwy. Cododd gwrthryfel arall oddimewn, canys *gwrthododd* y myfyrwyr ufuddhau i archiad yr ymddiriedolwyr, a gadawsant yr ysgol yn un corph. Am flynyddau ceisiai Beecher a Stowe yn ofer adferu llwyddiant yr ysgol hono. Yn y flwyddyn 1850, dychwelasant i'r Taleithiau Dwyreiniol—Stowe i Gadair Proffeswr Llenyddiaeth Feiblaidd yn Athrofa Dduwinyddol Andover, a Lyman Beecher i waith y weinidogaeth yn Cincinnati.

Treuliodd Harriet Beecher ddeunaw mlynedd yn yr athrofa hon yn Lane, ar ol bod cyn hyny yn cynorthwyo ei chwaer Catharine yn arweiniad ysgol er dwyn i fyny athrawesau. Dinas yw Cincinnati a saif ar lan gogleddol yr Ohio; ac ar y bryn uchel, pwynt uchaf pa un a goronid âg arsyllfa, oddiar y ddinas o du y gorllewin y safai Athrofa Lane. Gelwid y pentref nesaf atto *Walnut Hills*, ac un o'r rhai prydferthaf yn yr amgylchoedd ydoedd. Yma, gan hyny, y trigai Harriet Beecher, ac y cynorthwyai ei chwaer i addysgu hyd nes y priododd, yn bump ar hugain oed, gyda'r Proffeswr Calvin E. Stowe, o'r Athrofa, dros ba un yr oedd ei thad y pryd hwnw yn Llywydd. Ond ychydig o'r lluaws eppil a fu i Mrs. H. Beecher Stowe a fuont fyw. Dywed Mrs. Stowe:—

"Charlie, y prydferthaf o'm plant a'r anwylaf, a orwedda yn gladdedig ger fy hen gartref yn Cincinnati. Wrth ei wely angau, ac yn ymyl ei fedd ef, y dysgais beth all caeth-fam druan deimlo pan lusgir ei phlentyn oddiwrthi. Yn nyfnderoedd fy nhristwch, pa un a ymddangosai i mi yn anfesurol, fy unig weddi ar Dduw na ydoed fyddai i'r fath ing gael ei ddyoddef yn ofer.

"Yn gysylltiol â marwolaeth y plentyn hwn yr oedd amgylchiadau o'r fath chwerwder arbenig—o'r hyn a ymddangosai braidd yn ddyoddefaint creulawn—fel y teimlwn nad allwn byth gael fy nyddanu o'u herwydd, oddieithr yr ymddangosai y gallai llethiant fy nghalon fy hun fy ngalluogi i weithio allan ryw ddaioni mawr i eraill.

"Cymerodd ei farwolaeth le yn ystod hâf y *cholera*, pryd, mewn cylch o bum' milldir o'm hamgylch, y claddwyd 9,000—marwoldeb na chlywais erioed iddo fod yn fwy yn un-man.

"Gorfodid fy mhriod, mewn iechyd gwanaidd, i fod yn absenol yr holl amser, ac arnaf fi yn hollol yr oedd gofal teulu o bymtheg o bersonau. Ni ddychwelodd efe attaf fi, oblegid na wnawn ganiatau hyny; canys mewn llawer o engreifftiau lle yr oedd rhieni wedi dychwelyd at eu teuluoedd o bellder, ac i awyr heintus, y canlyniad fuasai marwolaeth ddisyfyd; a rhybuddiai y physygwyr fi os dychwelyd wnai, na fyddai ond yn unig farw. Bu farw fy Charlie druan o eisieu cymorth meddygol prydlawn; canys yn y dyryswch a'r anobaith cyffredinol a ffynai, mynych yr oedd yn anmhosibl cael cynorthwy nes ei bod yn rhy ddiweddar."

Rhwng 1835 a 1847, daeth Cincinnati yn faes brwydr amlwg cydrhwng rhyddid a chaethiwed. Bydd yn eglur i'r darllenydd yn awr, pa mor boenus gynefin y daethai Mrs. H. B. Stowe i fod â dychrynfeydd caethwasiaeth. O'r diwedd, daeth y ffordd a redai drwy Walnut Hills, dim ond ychydig droedfeddi oddiwrth ddrws Mrs. Stowe, i fod yn hoff *route* y "Rheilffordd Danddaearol," a elwid felly, ag oedd hefyd mor adnabyddus yn nhudalenau "Uncle Tom's Cabin." Yr oedd y "rheilffordd" yn gynwysedig o linell ardderchog o Grynwyr a chyfeillion gwrth-gaethwasiol eraill, y rhai a breswylient ar wahan, dyweder, o bymtheg neu ugain milldir, rhwng yr Afon Ohio a'r Llynoedd Gogleddol. Unasai y cyfeillion hyn i gynorthwyo caethion ffoedig i brysuro eu mynediad i Canada. Cymerid ffoadur yn y nos ar farch neu mewn pedrolfen orchuddiedig o orsaf i orsaf, megys y desgrifiwyd, nes y safai *ef* ar dir rhydd, ac y caffai y faner Brydeinig yn chwifio uwch ei ben. Neu,

"Pan welid *hi* 'n myn'd heibio 'n chwim,
A'i baban cu, heb ofni dim,
Yn welw'i gwedd, a'i threm yn llym,
  Can's ffoi i'w achub mae;
Disgwylia 'n ddyogel groesi 'r lli,
A bod yn rhydd!—ei hymdaith hi,
  Llawn gwynfyd yw, a gwae."

Gan gyfeirio unwaith yn rhagor at y "Rheilffordd Danddaearol," gallwn adgofio ein darllenwyr fod yr orsaf gyntaf i'r gogledd o Cincinnati ychydig filldiroedd i fyny Mill Creek, yn nhŷ y duwiol

a'r llewaidd Vanzant, fel arall a enwir Van Trompe yn "Uncle Tom's Cabin." Gan mai felly yr oedd y brif-ffordd, cyffroid Mrs. Stowe yn anocheladwy, ac yn fynych, drwy fawr-drwst y wageni gorchuddiedig, a charlamiad chwyrn y ceffylau a farchogid gan y cwnstabliaid a'r caeth-helwyr, y rhai fyddent mewn angerddol frys fel yr elent yn llidiog heibio i'w drws. Byddai Vanzant ("Honest John," fel ei gelwid) bob amser yn barod i droi allan gyda'i wêdd, ac anfynych y byddai yr helwyr yn ddigon cyflym i ddyfod i fyny âg ef. Y mae bellach er ys llawer o amser yn llanw bedd merthyr. Deuai Mrs. Stowe yn naturiol, o ganlyniad, yn ystod ei hir arosiad ar ymylon y taleithiau caeth, a thrwy amryw ymweliadau â hwynt, yn gynefin â gwneud sylwadau arnynt, a chrynhoi defnydd ddigon at ei champwaith ar gaethiwed. Nis gallwn wrthod un o frâs-linelliadau Mrs. Stowe yn 1840. "Yn cael eu cefnogi gan *riff-raff* y boblogaeth, a'u cymhell yn mlaen gan rai gwleidyddion a marsiandwyr, ymosodai y caeth-helwyr ar y mangreoedd y trigai y negroaid ynddynt. Hyrddiwyd rhai tai i lawr drwy ergydion magnelau. Am lawer o ddyddiau gadewid y ddinas i greulonedd a drygioni. Ysbeilid a dinystrid yr anneddau negroaidd. Lleddid negroaid a geisient amddiffyn eu heiddo, a'u cyrph a deflid i'r heolydd. Niweidid gwragedd yn greulawn gan ddyhirod, y rhai ar ol hyny a drengent o'u niweidiau. Llosgid tai, a bradychid gwyr, gwragedd, a phlant yn y terfysg, i gael eu llusgo i gaethiwed. Oddiar lethr y bryn ar ba un y trigwn, gallwn glywed llefau y trueiniaid, bloeddiadau y *mob*, ergydion y drylliau a'r magnelau, a gweled fflamau y golosgiad. I fwy nag un o'r ffoedigion crynedig y rhoddais nodded, a bum yn wylo dagrau heilltion gyda hwy. Wedi i gynddaredd y werin-dorf dreulio ymaith, casglai llawer o'r bobl dduon yr ychydig a adawsid iddynt o ddaoedd bydol gan gychwyn am Canada. Elai canoedd heibio i ddrws fy nhŷ. Yr oedd rhai o honynt mewn pedrolfeni bychain. Rhai yn ymlusgo ar draed ar ol eu celfi teuluaidd. Rhai yn tywys eu plant gerfydd y llaw. Ac yn eu plith yr oedd hyd yn nod mamau a roddent sugn i'w babanod dan gerdded, ac a wylent am y meirw, neu am eu gwyr a gipiasid ymaith, ac a adewid felly ar ol." Cyn gorphen y brâs-linelliad hwn, ewyllysiem sylwi fod "'Uncle Tom's Cabin' drwy ddyfarniad pobl Lloegr, yn cymeryd ei le fel gwaith safonol yn mhlith ceinion llenyddiaeth Seisnig." Fel y dywedodd Iarll Carlisle: "Mae ei athrylith, ei dynerwch, a'i arabedd yn cymeradwyo eu hunain." Fel y dywedodd y Parch. James Sherman: "Y mae mor anwrthwynebus ddeniadol i'r dysgedig a'r annysgedig a Thaith y Pererin gan Bunyan. Fe'i cyfieithwyd yn Ffrainc, Holland, Germany, Italy, Sweden, Rwssia, a Spaen. Rhaid mai y llawenydd penaf i Mrs. Stowe, pa fodd bynag, yw, ddarfod i Ragluniaeth estyn ei bywyd gwerthfawr i fod yn dyst o gwblhad ei gweddiau a'i hymdrechion, sef, *diddymiad* caethwasiaeth!

Bydded blynyddoedd olaf Mrs. Stowe a Josiah Henson yn rhai dedwydd a buddugoliaethus! Boed i ffrwythau eu bywyd-waith ysbrydol chwyddo "nifer y rhai cadwedig!" Bêr yw y nos, ac fe wawria y boreu yn fuan!

# YMWELIAD "UNCLE TOM" A'R GOLYGYDD A'I MAWRHYDI Y FRENHINES.

GAN i dderbyniad grasusaf ei Mawrhydi o Mr. Henson a Mr. Lobb gyffroi dyddordeb mawr drwy y wlad, ac i adroddiadau annghywir ymddangos, rhoddwn y dyfyniad canlynol allan o'r *Times*, am gywirdeb pa un y gallwn roi sicrwydd: "Ddydd Llun, Mawrth 5ed, gadawodd y Parch. Josiah Henson, arwr stori 'Uncle Tom's Cabin' gan Mrs. Stowe, Llundain, i ymweled â'i Mawrhydi yn Nghastell Windsor. Teithiai Mr. Henson gyda y *South-Western train* i Windsor, yn nghwmni Mrs. Henson, ei ail wraig, a Mr. John Lobb, o'r *Christian Age*, golygydd Hunan-gofiant Uncle Tom. Cyrhaeddai y cwmni y Castell am un, a derbyniwyd hwy gan Syr T. M. Biddulph, K.C.B., yr hwn, wedi eu cyflwyno i *Major-General* H. Ponsonby, a'u gwahoddodd i gyfranogi o *luncheon*. Am dri, ymddangosodd ei Mawrhydi, yn nghwmni y Tywysog Leopold a'r Dywysoges Beatrice, yn y *corridor* a arweinia i'r *Oak Room*, yn cael eu dilyn gan yr Anrhyd. Horatio Stopford a'r *Countess* o Erroll fel gweinyddesau. Yna cyflwynwyd Mr. Henson i'w Mawrhydi gan Syr T. M. Biddulph. Amlygai ei Mawrhydi syndod boddhaus yn yr olwg ar ymddangosiad hynod hoyw a chalonog y clerigwr du, ac ystyried ei oedran mawr. Fe 'i ganwyd, fel y cofir, Mehefin 15, 1789. Gwelodd ei Mawrhydi hefyd yn dda ddweyd ei bod yn gydnabyddus iawn â'i hanes er's llawer o flynyddoedd, ac a'i hanrhegodd â'i gwawl-arlun (*photograph*), wedi ei arwyddo, 'Victoria Reg., 1877,' a'i gyfleu mewn *ormula frame* brydferth. Diolchai Mr. Henson i'w Mawrhydi ar ei ran ei hun am yr anrhydedd mawr a roddai hi arno, yn gystal a thros ei frodyr duon yn Canada, a rhanau eraill o diriogaethau ei Mawrhydi, am ei nhawdd godidog pan oeddynt yn gaeth-ffoaduriaid gresynol, ac am y bendithion annhraethol a fwynheid ganddynt bob amser dan ei theyrnasiad. Yna cyflwynwyd Mr. John Lobb i'w Mawrhydi gan Syr T. M. Biddulph, fel golygydd Hunan-gofiant Mr. Henson, copi o ba un a dderbyniasid yn rasol gan ei Mawrhydi, ac fel y gwelai yn dda ddweyd, a ddarllenasid ganddi gyda y dyddordeb dyfnaf. Yn unol â dymuniad grasol ei Mawrhydi, ysgrifenai y Parch. Josiah Henson a Mr. J. Lobb eu henwau, gydag amser eu genedigaeth, yn *album* personol ei Mawrhydi. Rhoddasai ei Mawrhydi ganiatad neillduol fod yr holl deulu i gael gweled Uncle Tom, a hwy ddangosent ddyddordeb mawr yn yr hen wron, gan ysgwyd llaw âg ef yn galonog, lawer o honynt. Drwy archiad ei Mawrhydi, aed âg Uncle Tom a'i gyfeillion i weled y Castell, a chymerwyd hwy drwy yr ystafelloedd neillduol a chyhoedd gan Syr John Cowell, gan adael y lle o'r diwedd am haner awr wedi pedwar, wedi eu huchel foddhau yn y derbyniad brenhinol hwn. Tra yn disgyn i waered y Castle-

hill, gyferbyn â'r *Albert Memorial Chapel*, cyfarfuwyd Mr. Henson gan yr Anrhyd. a'r gwir Barch. Gerald Wellesley, Deon Windsor, ac amryw foneddwyr, gyda y rhai yr ymddyddanai, ac mewn attebiad i sylw dywedodd y byddai ef yn fuan yn wyth a phedwar ugain oed. Wedi gadael y Castell, ymwelodd Mr. Henson a'i gyfeillion â Mr. F. G. Cayley yn High Street, Windsor. Ar ol tê, anerchodd Mr. Henson weithwyr Mr. Cayley, oddeutu triugain o nifer, mewn ymadroddion tarawgar. Ymddangosai fel wedi ei gyffwrdd yn fawr drwy y caredigrwydd a ddangosasid iddo gan ei Mawrhydi, a siaradodd am yr effaith dda gaffai yr esiampl frenhinol yn Canada."

Yn ol dymuniad ei Mawrhydi, anfonodd Mr. Lobb i Gastell Windsor ddarluniau *carte-de-visite* o Mr. a Mrs. Henson, derbyniad y rhai wedi hyny a gydnabyddwyd.

Ymddangosodd yr erthygl ganlynol yn y *Birmingham Daily Mail* am Mawrth 6, 1877, ac y mae, ni dybiwn, yn teilyngu cadwraeth :—

"Taflwyd drysau mawreddog Castell Windsor drwy ystod ei hirfaith hanes yn agored i ddynion enwog o bob credoau, lliwiau, a hinsoddau. Bu ymerawdwyr a brenhinoedd yn ciniawa o fewn ei furiau ; derbyniodd rhyfelwyr dewrion yn ei *saloons* longyfarchiadau eu teyrn brenhinol ; anrhydeddwyd llenorion enwog yno â'r warogaeth a delir gan y graddau uwchaf i athrylith heb golli dim o'u hurddas. Gwyddoriaeth a llenyddiaeth, arfau a chelfyddydau, gwladlywiaeth a duwinyddiaeth a gawsant yma eu croesawu yn eu tro ; penaduriaid melynion o'r Dwyrain pell, llywodraethwyr ymerodrol a gynrychiolent wareiddiad cydymgeisiol, uchel-genhadon o Lys Japan, ac *envoys* goludog mewn aur-addurniant dysglaer, a fuont yn cael eu cynes-dderbyn gan ei hir-olyniad o denantiaid urddasol. Cynwysai cofnodion y derbyniadau a roddwyd, a'r ymwelwyr a groesawyd, o fewn ei neuaddau anrhydeddus a hanesiol, lawer o fawredd pennodol pob teyrnasiad—mawredd buddugoliaeth, a mawredd digwyddiad. Hyd yn nod o fewn y deugain mlynedd, yn y rhai y bu y Frenhines Victoria yn teyrnasu dros y wlad, y fath restr hir o wyr a gwragedd enwog a gawsant eu galw i'r castell ! O'r braidd yr aed heibio i unrhyw un a gyrhaeddodd glod anrhydeddus mewn unrhyw gylch gan Frenhines yr hon sy' mor bryderus i gydnabod enwogrwydd a thalent ac anturiaeth ag ydyw i gadw i fyny gyda gras priodol hollol iddi ei hun nodwedd letygar ei phreswyl frenhinol. Pobl y rhai a aethant drwy beryglon difrifol wrth archwilio gwledydd pellenig, y rhai a dreiddiasant i wyllt-fanau cyhydeddol, neu foroedd rhewllyd, y rhai a wnaethent weithredoedd arwraidd yn achos dynoliaeth neu wyddor—a groesawyd oll yn llawen a boddhaus gan y Frenhines Victoria ; a chyduna y rhai a anrhydeddwyd â'r galwadau i ddweyd, ei bod heb unrhyw ymgais yn gwneud iddynt deimlo yn esmwyth, ïe, y rhai lleiaf cydnabyddus â llysoedd tywysogion ac â gwych-ystafelloedd y mawrion.

"Croesawodd Windsor ymwelydd ddoe, o amgylch enw a hanes

yr hwn yr ymgrynhoa dyddordeb eithriadol. Ni wnaeth ef ddim, yn ystyr gyffredin yr ymadrodd, i enill enwogrwydd. Ni chynyrchodd unrhyw waith athrylithfawr, ni chyflawnodd unrhyw orchest wlad-lywyddol, ac ni ddarganfyddodd wledydd newyddion. Nid anrheithiodd diriogaethau drwy rym arfau, na chwaith eu poblogi drwy anturiaeth feiddgar. Ni wnaeth ond *dyoddef*. Yr oedd yn gaethwas yn yr Unol Daleithiau, pan oedd caethwasiaeth yn anterth ei chreulonedd a'i gorthrwm yno. Teimlodd ffrewyll yr anghenfilod mewn ffurf ddynol, a allent farchnata yn nghnawd a gwaed plant gwragedd. Gwelodd wyr a gwragedd yn cael eu hysgar yn ddideimlad oddiwrth eu gilydd i ddybenion rhy adgas i'w hadgofio heb boethwrido gan soriant. Y mae y Parch. Josiah Henson yn ddynsawd o ddyddordeb annghyffredin ac arbenig, yn gymaint ag mai efe oedd 'Uncle Tom' ffug-hanes hynod Mrs. Stowe, er darlunio caeth-fywyd yn y Taleithiau Deheuol. Pwy ag sy' dros ddeg-ar-hugain oed a'r nas cofia yr argraff dwfn a wnaed ar y cyhoedd pan wnaeth y stori galon-rwygiadol hono ei hymddangosiad yr ochr hyn i'r Werydd? Pa gynifer o filoedd o lygaid Prydeinig gonest, ac heb fod o gwbl yn arferol â'r dull toddedig, oeddynt wlybion gyda yr hanes am ddyoddefiadau 'Tom' dlawd, amyneddus, ac ardderchog? Pwy na fu yn chwerthin uwch ben digrifwch dwysder rhyfedd Topsy, ac na fu yn wylo uwch tynerwch annhraethadwy gwely angau Eva fach? Pwy na fu yn enyn gan ddigllonedd cyfiawn oblegid creulonderau didrugaredd Simon Legree, ac na chyffrowyd gan gydymdeimlad âg Eliza yn ei gwyllt-ffoedigaeth dros yr iâ drylliedig? Ni ysgrifenwyd stori erioed ag iddi gamwri mor ddrygionus i gael ei gosbi; ni ysgrifenwyd stori erioed a gynhyrfodd galonau a chydwybodau pobl Lloegr ac America i'r fath raddau. Daeth 'Uncle Tom's Cabin' i fod yn ddyrnod angeuol i gaethwasiaeth fel sefydiad Americanaidd.

"Nid oes neb a all lai na theimlo dyddordeb yn y fath ddyn a Mr. Henson. Fel y nodasom, efe oedd y gwreiddiol o Uncle Tom, ac er i ddigwyddiadau ei fywyd gael eu nhewid o angenrheidrwydd i atteb dybenion ffugwaith, mynegir fod y cymeriad yn bortreiad ffyddlawn o'r eiddo ef. Canfyddwn ynddo ddyn, yr hwn drwy un o hynod-droion dyeithr ac anesboniadwy damwain, a anwyd, ac i ni ddweyd felly, dan sawdl tasg-feistri uchel a chreulawn. Am flynyddoedd ei gyfran ydoedd un o galedwaith a thrueni. Dyoddefaint oedd nod-arwydd ei holl dylwyth. Pan enillodd ei ryddid, ni bu felly i gymeryd arno unrhyw fantais hunanol, ond i lafurio dros achos mawr rhyddid, drwy yr hyn y gallai ei frodyr duon fwynhau y fraint anmhrisiadwy a enillasai ef ei hun. Y mae rhywbeth yn rhamantus braidd yn ngwaith Brenhines Lloegr yn cyfarfod, yn nghartref Brenhiniaeth ei hun, â'r gostyngedig, ac yn awr oedranus Uncle Tom hwn, hynodrwydd mwyaf yr hwn a gyfyd o'i ddyoddefiadau, a'r athroniaeth amyneddgar, beraidd, a'r duwioldeb mawr, calonog, â pha un y dygodd efe erwindeb gorthrymwyr câs. Gallwn yn ein meddwl ddarlunio y patriarch

negroaidd, yn awr yn wyth a phedwar ugain oed, yn myned i fyny y *corridor* i'r *Oak Room*, lle y darfu i'w Mawrhydi, yn cael ei chylchynu gan arglwyddi a boneddigesau gweinyddol, a swyddogion yn perthyn i'r wladwriaeth, ei gymeryd yn dirion gerfydd ei law, gan lefaru geiriau tyner o gydymdeimlad yn wyneb y dyoddefiadau yr aethai drwyddynt. Byddai yr olygfa yn wir werth ei hanfarwoli ar *ganvas* rhyw arlunydd hanesiol. Nis gallai dim fod yn fwy arluniadol nag ysblenydd-der a mawredd y gwrthddrychau cylchynol o ba rai yr oedd y negro hybarch hwn yn ffigur canolbwyntiol. Yn rasol iawn anrhegodd y Frenhines Mr. Henson gyda'i darlun ac engraifft o'i llawysgrifen; yntau a ddiolchodd i'w Mawrhydi am yr anrhydedd mawr a roddasai hi arno, ac ar ran ei frodyr duon yn Canada, ynghyda rhanau eraill o diriogaethau y Frenhines, am ei nhawdd ardderchog pan oeddynt yn gaethffoedigion truain, ac am y bendithion annhraethadwy y rhai yn wastadol a fwynheid ganddynt dan ei rheolaeth. Yna, ar gais neillduol ei Mawrhydi, ysgrifenodd Mr. Henson a Mr. Lobb eu henwau yn ei *private album;* ac felly y dygwyd seremoni llawn o ddyddordeb a gras i derfyniad.

"Gan droi oddiwrth y derbyniad hwn yn Windsor, nis gallwn lai na chyferbynu cyflwr presenol yr Unol Daleithiau â'r hyn a eilw stori bywyd a dyoddefiadau Uncle Tom i'n cof. Aeth America drwy drallod llym i olchi ymaith warthrudd caethwasiaeth. Yr oedd y ffwrn yn angerddol, ond yr oedd y puro yn sicr. Difawyd sorod yr hen lygredd Deheuol, gyda'i farsiandiaeth erchyll mewn creaduriaid dynol, ei rwygiad o gylymau naturiol, a'i droseddau a'i greulonderau annhraethadwy; a phur achos rhyddid a barhaodd. Y mae cenedl a allai fel hyn blycio i fyny y cancr dolurus o'i wreiddiau yn alluog o ddyfodol galluocach eto. Er gwaethaf yr holl dwyll a'r llygredd sydd yn bwyta i mewn i fywyd cyhoeddus Americanaidd, mae dylanwad bywhaol gallu moesol iachus i'w gael yno. Un o'r gweithredoedd ardderchocaf a wnaed gan unrhyw bobl erioed oedd ysgubo ymaith gaeth-drefniant y De; ac nid oedd y tân a'r cleddyf yr oedd yn rhaid i'r diwygwyr fyned drwyddynt yn ddim amgen na threialon cysegredig eu cenhadaeth ardderchog. Y mae yr hybarch Uncle Tom wedi byw i weled cydraddoldeb cenhedloedd, lle, ychydig amser yn ol, nad oedd dynion o'r un lliw ag ef ond eiddo gwerthadwy i'r rhai a'u perchenogent. Cafodd ef, y caethwas ffoedig, fyw i gael ei groesawu gan y Frenhines Victoria, yn ei chastell breiniol ei hun. Y mae chwyrn-gerbyd Amser yn dwyn oddiamgylch ei ddialeddau, ac nid y lleiaf o honynt yw y seremoni raslawn a dyddorol a gyflawnid ddoe yn Windsor."

